Thomas Giles iw hynig:
berchenog y llyfr yr hwn.
Prynwid ef gan C D Jones
yn y flwyddyn. 1847.
ganwyd fi. yn y flwyddyn 1829.
tachwed. yr 8. yn llanafan.
Plwyf llanafan. yn Swydd
Mynwy. cafes fy medyddio. gan
Abel Evans. yn Merthyr tid fyl.
yn y flwyddyn. 1844.

---

ganwyd Margret Giles. di Mawrth 20.
yn y flwyddyn. 1821.
yn Merthyr tid fyl
yn Swydd Morganwg.
bedyddiwid gan William Mills
yn Merthyr

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

The Old Religion anew

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**CAN CAPT. D. JONES.**

"CANYS MYFI YS AROLWYDD NI'M NEWIDIR," &c —Malachi.

"A rhai yn wir a osododd Duw yn yr Eglwys; yn gyntaf APOSTOLION, yn ail PROFFWYDI, yn drydydd athrawon, yna GWYRTHIAU: wedi hynny DONIAU I IACHAU, cynorthwyau, llywodraethau, RHYWIOGAETHAU TAFFODAU."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i cwi bydded ANATHEMA."—Paul etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddes roddion i ddynion."

"Ac EFE a roddes rai yn APOSTOLION, a rhai yn BROPHWYDI," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd ai farnu (nid cyn ond WEDI ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr.'—YR AWDWR.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth CYN EI GLYWED, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon.

TRAETHAWD, Rhif. 1af.

GWRECSAM:
ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.
1845.

# RHAGYMADRODD.

Un o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annihynol*, rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion*, a'r hynottaf o'i holl roddion: yr hwn nad ymddwn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth; ond yr wyf fi, er yr unig UN o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol; pêd esgeuluswm hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. GWIRIONEDD yw'm cleddyf, gŵn, mae'r, HWN YDW YF." Sy'n cynal fy neheulaw: ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi!

EI AIR EF, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ol y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly? Sydd holi ad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo," medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda." Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, a herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn clyn yw genedl ei hun ; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn ; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail ; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol ; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen ; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi ; yn enwedig am y saith ymlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst ; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir ; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision ; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad ! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i wyddfod ei hawdwr, i gyfarfod uu Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho ! !

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

# YMDDYDDAN

RHWNG

## MEISTRIAID TRADDODIAD, SECTARIAD, A SANT.

### A "*MENE TEKEL*" YR OLAF AR EI GYHUDDWYR.

---

MR. TRADDODIAD. Boreu da i chwi fy nghymmydog. Drwg gennyf glywed eich bod wedi cymmeryd eich twyllo gan "SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF." Ni feddyliais y gallai y penboethiaid hyny, lithio dyn mor gall â chwi, i'w gau athrawiaeth.

SANT. Nid ydwyf yn gwybod ddarfod iddynt fy llithio i gau athrawiaeth; ac os gwyddoch chwi hyny, da chwi dangoswch i mi y twyll: a byddaf, nid yn unig, yn dra diolchgar, ond gadawaf y twyll hwnw yn y fan; pa les i ddyn fyw mewn twyll?

TRA. Beth! wedi ymuno â'r "Saint," ac ni wyddoch eu bod yn dwyllwyr! Oni chlywch bawb yn dweyd hyny? a pha fodd y dywedwch na wyddoch?

SANT. Nid ydyw yn dwyll, am fod pawb yn haeru hyny; ac nid yw tystiolaeth gelynion un blaid grefyddol, yn ddigonol i'w phrofi yn gyfeiliornus; "Canys y neb a attebo beth cyn ei glywed (y'r [illegible]), ffolineb a chywilydd fydd iddo," medd y doethaf o ddynion: can, os gallwch *brofi* ein twyll, gwnewch, goreu po cyntaf.

TRA. Gallaf yn ddiau yn y fynyd. Onid ydyw y *Saint* yma yn honni yr un fath grefydd ag oedd gan yr apostolion? sef, eu bod yn cael datguddiad o'r nef, doniau yr Ysbryd Glân i brophwydo, [illegible] â thafodau, dawn iachau, a gwyrthiau fel yr addawodd Mab Duw yn Marc xvi, 17. "A'r arwyddion hyn a ganlynant y RHAI A GREDANT." Dywedwch hefyd eich bod yn mwynhau y doniau hyny dan sylw Paul yn 1 Cor. xii, 10, ba rai a ddylent fod yngwir eglwys Crist; ïe, honnwch lawer mwy; ac, onid ydyw yr honiad, ynddo ei hun, yn ddigon i'ch profi yn dwyllwyr ffol, am honni y fath bethau yn yr oes oleu hon, fel pe byddech am i ni ddychwelyd yn ol gyda chrefydd i oes dywyll yr apostolion; ac i'n *Reverends* [illegible] bregethu yr efengyl heb gael dim cyflog, ond eu bwyd a'u dillad fel chwi? pwy o holl dduwinyddion yr oes. na ddywed mai [illegible] ydyw crefydd fel yna? am hyny, mae yr holl rai hyny, a'u [illegible], yn tystio yn eich herbyn chwi a'ch crefydd; a dywed pawb, fod cymmaint o wybodaeth ag y sydd eisiau o'r nef wedi ei ddatguddio i'r apostolion: a bod y gyfrol sanctaidd er y pryd hyny yn gyflawn: nad oes eisiau ychwaneg, ac ni cheir ychwaneg.

SANT. Gwir, Syr, ond i chwi yn gyntaf brofi fod y gyfrol yn gyflawn, fel y mae genym, ac nad oes eisiau ychwaneg o ddatguddiadau; yna

bydd crefydd y Saint wedi ei phrofi yn dwyll, ac ymadawaf a hi yn y fan. Eithr gwaith mwy anhawdd nag y meddyliwch, yw profi nad oes eisiau ychwaneg. Pwy a all ddweyd hyny? Onid oes eisiau cymmaint ag a wel y Duw mawr yn dda ei ddatguddio i blant dynion? Ai nid goreu po mwyaf? Deuwch a'ch rhesymau cadarnaf yn awr, Mr. TRADDODIAD: ni wna haeriadau traddodiadol eich hynafiaid, i brofi fod y grefydd yr ymddibynaf arni am fywyd tragywyddol, yn dwyll.

TRA. Os yw pawb a ymunant â'r Saint mor agored i argyhoeddiad â chwi, ni wn paham y dywedir fod rhyw *charm* yn y Gred i hudo, fel nad oes gobaith y dychwelant byth oddiwrthi. Dyna a ddyry ein Pregethwyr ni yn esgus pan rybyddiant eu gwrandawyr i beidio â'ch gwrandaw: ond at y prawf o'r twyll. Yr wyf ar frys i'ch gweled yn troi. Y prawf *cyntaf* yw, tystiolaeth unfrydol y Diwygwyr enwog, sef tadau duwiol pob enwad crefyddol a fedd yr oes; yn *ail*, dywed miloedd o dduwinyddion a doethion y byd Cristionogol yr un pethau; ïe, mewn gair, *pawb* o ddyddiau Luther hyd y dydd hwn (ond eich pobl chwi), a ddywedant fod y gyfrol wedi ei gorphen a'i selio i fynu yn niwedd yr oes apostolaidd. Dyna i chwi ddigon o brofion Syr—yr holl fyd: pa faint ychwaneg a fynnwch? Yn awr, addefwch eich cyfeiliornad.

SANT. Gobeithiaf na ddigiwch wrthyf, Syr, pan ddywedaf nad ydych wedi cynnyg un math o brawf i'ch haeriad, hyd yma. A ddisgwyliwch chwi i ddyn rhesymol ymddibynu ar haeriadau dynion diarddeledig, am beth mor bwysig? Os nad oedd eich gwrthddadl yn wir, pan ddaeth o enau y cyntaf a'i haerodd, nid i'w ddim yn fwy gwir, pe haerai yr holl hil ddynol am filoedd o flynyddau, mai gwir yw. Ni ddichon amser, poblogrwydd, na dim arall, gyfnewid cyfeiliornad un oes, yn wirionedd i'r oes arall. Mae y gwir, ynddo, ac o hono ei hun, fel yr Awdwr o hono, yn anghyfnewidiol; ac felly, nid wyf ddim nes i wybod mai twyll yw y gosodiad, er eich "llonaid byd o dystion." Pa fodd y gwn pa un ai gwir ai nad ê a haerant, os nad ynt yn sylfaenu ar yr Ysgrythyr? Dywed Esaia, "Gwae yr hwn a ymddiriedo mewn dyn, ac a wnelo gnawd yn fraich iddo."

TRA. *Wel, wel!* fe'm siomwyd ynoch: nid y'ch mor agos i'w gadael, ag y meddyliais. Beth a ddywedaf yn nesaf? Pa beth Syr, yr wyf yn rhyfeddu attoch; a feiddiwch chwi feddwl fod yr holl enwogion hyny yn cyfeiliorni, a'ch bod chwi y *Saint* yma, yn gwybod yn well na hwy. O *ffei*, rhag hyn!

SANT. Os ydynt yn dweyd hyny ar seiliau eraill yn unig, gallant fod yn cyfeiliorni, yn gystal ag y gall y miliynau Paganiaid fod yn cyfeiliorni, trwy gymeryd traddodiadau eu tadau yn ganiatäol am wir: pa le mae y gwahaniaeth?

TRA. Os na oddefwch brofion fel y rhai hyn, nid oes genyf rai gwell; rhaid i mi roddi i fynu y ddadl; ac addef eich bod wedi y cyfan yn fwy anhawdd eich boddloni â phrawf, na neb a welais o holl grefyddwyr yr oes: ond,—arhoswch,—O, dacw fy hen gyfaill

Mr. Sectariad yn dyfod: da iawn; ni ddaeth erioed i un man lle bu cymaint o'i eisiau; dacw ei feibl tan ei gesail fel arferol. Mae efe er ys dengain mlynedd, o'r bron, yn bregethwr enwog. Yn awr am danoch chwi Syr, rhyngom ein dau profwn y gosodiad, yr wyf yn meddwl.

Boreu da i chwi Mr. *Sectariad;* da genyf eich bod wedi dyfod heibio yn awr; gwnaf chwi yn adnabyddus a'm cyfaill anffortunus, Mr. S.: mae efe yn ddiweddar, fel y mae yn ddrwg dweyd, wedi cael ei berswadio ryw fodd, gan "Saint y Dyddiau Diweddaf:" ond y mae yn ddyn mor onest ei egwyddor, hoff, a rhesymol, fel y dymunwn ei argyhoeddi o'i gamsyniadau. A fyddwch chwi cystal, Mr. Sectariad, a phrofi o'r Beibl, nad oes dim gwyrthiau i fod yn yr oes hon; fod y gyfrol sanctaidd yn gyflawn, ac wedi ei selio i fynu er amser yr apostolion, pa le sy'n dywedyd hyny? Nid wyf fi yn gwybod ond ychydig am yr Ysgrythyr; yr wyf yn talu i chwi am wneyd hyny drostaf; cymmerwch eich Biol, Syr, a throwch i'r manau sy'n dywedyd felly, fel yr achubom ein cyfaill hoff o dwyll y bobl hyny.

Sectariad. Mae yn alarus meddwl fod neb yn yr oes olcu hon; ïe, yngwyneb yr holl bregethu a'r dysgu; yn cymeryd eu twyllo i'r fath eithafion, a chredu pethau fel hyny. Mae arnaf braidd ofn siarad a'r fath ddynion. Ond, pa fodd y disgwyliwch i mi brofi hyny o'r Bibl, pan y mae y bobl hyn, yn gwadu ein Bibl ni, a chanddynt fibl newydd iddynt eu hunain.

Sant. Pa beth, Syr, a ddywedasoch yn awr!! Pwy sydd yn gwadu y Bibl? ai y Saint? Cymmerwch yn araf; mae hyn yna mor anhawdd ei brofi a haeriad Mr. Traddodiad dan sylw. Nid oes neb yn credu yn, nac yn parchu mwy ar y Bibl Sanctaidd, na'r Saint. Nid oes genym fibl arall yn ei le, a gwyn fyd na chredai y Cymry y Bibl mor drwyadl ag y gwnawn ni. Camgyhuddiad ein gelynion yw y stori yna, er mwyn cael rhagfarn y Cymry yn ddigon cryf i'n herbyn, i gredu y celwyddau eraill a ddywedant arnom.

Sec. Onid ydych yn credu yn y "Llyfr Mormon" hwnw?

Sant. Ydym. Ond nid yn lle y Bibl mewn un modd. Llyfr yw hwnw, sy'n rhoddi hanes, hynafiaid yr Indiaid Americanaidd, gan ddangos eu tarddiad, a goruchwyliaethau Duw yn eu plith, a pheth a ddigwydd iddynt etto: ac nid oes ynddo ddim yn groes i'n Bibl ni. O ydynt Syr; mae y "*Saint*" yn credu y Bibl cyssegrlân, bob gair, a'r gofid mwyaf sydd genyf yw, methu cael ond ychydig yn y wlad i'w gredu ddigon, fel y dywed; er fod bron bawb, yn credu yr hyn a ddywed y Doctoriaid a Rabbis Sectaraidd yr oes, yn lle yr hyn a ddywed y Bibl. Hyn yw y gwahaniaeth rhyngom ni a chwithau ynghylch y Bibl, ond bydd pob prawf a ddygoch o hono yn hollol gymmeradwy genyf fi, a'r holl "*Saint:*" da genyf glywed dyn yn cynnyg y Bibl glan yn rheol penderfyniad crefydd; ac felly, deuwch a'ch prawf cadarnaf, i ddangos fod y Bibl yn gyflawn.

Tra. O ydyw Mr. Sectariad, mae y "*Saint*" yn credu ein Bibl ni, canys y mae ar flaen ei dafod ef o hyd er pan y mae yn ymddiddan a mi.

Sec. Wel, rhaid addef eich bod yn cael cam mawr gan y wlad, ynte; felly y clywais gan bawb: ond, gan eich bod yn credu ein Bibl ni, yr wyf yn meddwl yn well o honoch; a hawddach profi eich bod yn cyfeiliorni, gyd â'ch ychwaneg o ddatguddiadau. Ac yn y lle cyntaf, darllenaf eiriau Paul, er profi nad oes eisiau ychwaneg o Ysgrythyr. Gwel 2 Tim. iii, 15, 16, 17. "Ac i ti er yn fachgen, wybod yr Ysgrythyr lân, yr hon sydd yn abl i'th wneuthur di yn ddoeth i iachawdwriaeth, trwy y ffydd sydd yn Nghrist Iesu. Yr holl Ysgrythyr sydd wedi ei rhoddi gan ysprydoliaeth Duw, ac sydd fuddiol i athrawiaethu, i argyhoeddi, i geryddu, i hyfforddi mewn cyfiawnder: Fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio, i bob gweithred dda." Yma gwelir yn amlwg, fod gan Timotheus ddigon o Ysgrythyr er ei wneyd yn ddoeth i iachawdwriaeth, pan yn fachgen; felly nid oedd eisiau mwy iddo ef, a phaham yr honnwch chwi fod eisiau ychwaneg yn awr? Onid ydych mewn dalfa yn awr Mr. Sant?

Sant. Ni ddeil y ddalfa yna mo honof ddim yn hwy nag yr attebwch un cwestiwn, sef, pa Ysgrythyrau oedd gan Timothëus pan yn fachgen?

Sec. O, felly! mi a welaf eich rhesymeg y fynyd yma. Rhaid addef, nad oedd gan Timothëus, ond Ysgrythyrau yr Hen Destament; canys gwyddom nad oedd y Testament Newydd wedi ei ysgrifenu pan yr oedd efe yn fachgen.

Sant. Ac felly: mae y Testament Newydd mor hollol afreidiol ag ydyw y datguddiadau a honnwn ninnau, yn ol eich rhesymeg chwi; gan fod yr Hen Destament yn abl i wneuthur Timothëus yn ddoeth i iachawdwriaeth. Gresyn na fuasai yr Arglwydd, a'r angylion yn gwybod, fod gan y byd ddigon o Ysgrythyr, er arbed y drafferth fawr a roisant i'r apostolion i ysgrifenu, a ninnau i gredu y Testament Newydd, tra mae efe, fel yr haewch chwi, mor afreidiol. Pa bryd, Syr, y gwnaethoch y darganfyddiad rhyfeddol, fod pob ysgrythyr a roddwyd er yr amser pan oedd Timothëus yn fachgen, yn dwyll, ac yn afreidiol? Ni raid i mi ofyn, pa un ai y Sectariaid ai y *Saint* sydd yn gwadu yr Ysgrythyrau. Nid rhyfedd i chwi ein galw yn dwyllwyr; canys os hyn yw y twyll y cyfeiriwch atto, yr wyf yn ei addef yn rhwydd, tra profwch chwithau eich hun yn Iuddew, heb y grefydd Gristionogol, canys hon yn eich sel fawr a wadwch er profi fod yr hyn a ddywed traddodiad Sectaraidd, yn wir!

Sec. O, na; gwell addef y ddadl o'ch ochr chwi, na hyn. Eithr er nad yw yr adnod flaenaf yn profi fy ngwrthddadl, onid yw y ddwy olaf yn profi fod genym ddigon i "berffeithio dyn Duw?"

Sant. Mor bell oddiwrth hyny, nes y mae yn profi yn hollol groes. Ni ddywed Paul fod digon o Ysgrythyr wedi ei rhoddi, fel nad oes eisiau ychwaneg i wneyd dyn Duw yn berffaith: ond, "fel yr honna y Saint," fod dyn Duw i gael ei berffeithio drwy yr holl ysgrythyrau a roddodd, neu a welai Duw yn dda eu rhoddi, rhyw bryd, yn rhyw le, neu i ryw un, fel y gwelai efe yn oreu. "Yr *holl* Ysgrythyr" ebe efe, nad faint oedd hyny.

Sec. Rhaid addef fod genych ryw ffordd newydd a chywrain i wrthbrofi fy rhesymau, mor eglur, nes yr wyf yn synu uwch gwendid fy rhesymau. Wel, gadawaf i chwi gael Paul o'ch plaid, yn y fan yna; ond y mae genyf fi un mwy na Phaul—Mae Ioan o'm plaid, ac yn profi yn ddigon eglur, ei fod yn sêlio y gyfrol i fynu, pan oedd ar Ynys Patmos. Dat. xxii, 18, 19. "Canys yr wyf fi yn tystiolaethu i bob un sydd yn clywed geiriau prophwydoliaeth y LLYFR HWN, Os rhydd neb ddim at y pethau hyn, Duw a rydd atto ef y plâau sydd wedi eu hysgrifenu yn y LLYFR HWN. Ac o thyn neb ymaith ddim oddiwrth eiriau LLYFR Y BROPHWYDOLIAETH HON," &c. Dyma ddigon, Syr, er

terfynu y ddadl; ïe, cyhoedda felldith ar y neb a ryfygo chwanegu gair at y llyfr hwn, sef, *y Bibl*, na thynu gair oddiwrtho.

SANT. Os felly, mae y gwŷr hyny a'i crynhoisant fel y mae yn awr, wedi tynu melldithion dirifedi arnynt eu hunain; canys galiaf ddangos i chwi, fod y Bibl yn addef geirwiredd dros ugain o lyfrau, heblaw sydd wedi eu crynhoi ynddo. 'Rwy'n cofio rhai o'r manau; Num. xxi, 14; Jos. x, 13; 2 Sam. i, 17, 18; 1 Bren. xi, 41; 1 Cron. xxix, 27; 2 Cron. ix, 29, xii, 15, xiii, 22, xx, 34, xxiv, 27, xxvi, 22, xxxiii, 18, 19, a xxxv, 25; Jer. xxvi, 20; 1 Cor. v, 9; Judas 14; Luc i, 1, 2; y manau hyn, ac amryw eraill a brofant, fod ein Bibl ni ymhell o fod yn gyflawn yn awr; eithr oni ddylasai y cyfan o honynt fod ynddo? Etto, dylem fod yn dra diolchgar i'w Awdwr, am yr hyn sydd genym, a gwneud yr iawn ddefnydd o hono. Ond, gan eich bod wedi ffoi i'ch noddfa gadarnaf, cymmerwch bwyll; fe all y *Saint* osod cryfach trosol, nac un Archimedes, o dan eich sail, a thynu y Castell yna hefyd i lawr; ïe, er ei amdiffyn gan holl bobl y byd. Pa un ai ar Dduw ai ar ddynion y mae y gwaharddiad yn yr adnodau uchod? Amlwg mai ar ddynion. Yna gallai *Duw* roddi datguddiadau ychwanegol bob dydd, er hyny, heb ddyfod dan felldith Ioan. Ai tybied, Syr, eich bod yn meddwl mor wael am Ioan, (yr hwn a froliwch yn awr, er ei wadu o'r blaen,) ag y buasai yn rhyfygu i selio i fynu wefusau Duw, a chau y nefoedd fel na chawsai lefaru un gair mwyach wrth ei greaduriaid? Os gwnaeth, y mae yn ei groes-ddweyd ei hun; canys ychydig cyn llefaru yr adnod uchod, dywed i'r angel ddywedyd wrtho, "y byddai raid iddo ef drachefn, brophwydo i bobloedd, a chenhedloedd, ac ieithoedd, a brenhinoedd lawer;" Dat. x, 11. A oedd Ioan i brophwydo cymmaint a hyny wedi hyn, heb ddim o hono i gael ei ysgrifenu? buasai hyny, ar ol ei ysgrifenu, yn ychwaneg o ysgrythyrau. Pa le y maent, tybied? nid yw y diffyg o honynt yn ein Bibl ni, yn un prawf nad allai ryw rai fod yn eu meddu. Nid yw y byd i gyd yn Nghymru, Syr; na i phobl yn gwybod pob peth. Etto, os oedd Ioan yn cau i fynu y Bibl y pryd hyny, daeth tan ei gondemniad ei hun, drwy ysgrifenu ei Efengyl, a'i dri Epistolau, dair blynedd ar ol dychwelyd o Patmos i Ephesus. Ac os at y Bibl y cyfeiria Ioan, pan ddywed, "*y llyfr hwn*," ffarwel am dano ef; canys y mae Duw, yn ol ei ddymuniad, wedi ei felldithio ef a'r pläau hyny. Ond, pa fodd y cyfeiriai efe at y Bibl, ac yntau yn gwybod fod rhanau y Gyfrol y pryd hyny ar hyd a lled y byd. Anhawdd meddwl fod gan Ioan gymmaint ag un ran o'r Bibl pan lefarodd y geiriau hyn, canys yr oedd wedi ei alltudio i ynys anial am ei grefydd. Gwelwch na ddichon i chwi, mewn un modd, brofi fod Ioan yn cau y nef, nac yn cyfeirio at y Gyfrol Sancteiddd, yn yr adnodau hyny.

SEC. Ni wn ba beth i'w feddwl, yn awr; canys gwelaf na allaf brofi y gosodiad; ac yn awr dymunwn ddeall ba beth y mae Ioan yn ei feddwl wrth "eiriau prophwydoliaeth Y LLYFR HWN?"

SANT. Onid yw yn dweyd yr hyn a feddylia, mor eglur ag y gallai iaith, "*y llyfr hwn*," sef y llyfr hwnw oedd dan ei law y pryd hyny? sef y llyfr a gynhwysa "eiriau y brophwydoliaeth hon;" sef yr hon a gawsai ar ynys Patmos yn unig; sef, y llyfr hwnw a elwir yn "LLYFR Y DATGUDDIAD" yn ein Biblau ni. Dyna y "*y llyfr hwn*"—yr hwn y

gwaharddai Ioan dynu oddiwrtho, na chwanegu atto air; ond ni chyfeiria at un llyfr arall. Rhoddir yr un ystyr ganddo, i'r cyffelyb frawddeg yn yr un benod. Gwelwch nad oes yn eich gwrthddadl ddim yn milwrio yn erbyn cael ychwaneg o ddatguddiadau, o amser Ioan hyd heddyw.

SEC. Onid oes yna gyfeiriad yn y geiriau, na ddyry Duw ychwaneg a ddatguddiadau wedi hyny?

SANT. Gellir gofyn, oddiwrth arferiad y gyffelyb frawddeg gan Moses, yn Deut. iv, 2. "Na chwanegwch at y gair yr wyf yn ei orchymyn i chwi, ac na leihewch ddim o hono ef." A oedd Moses yn arddangos na roddai Duw ddim ychwaneg o ddatguddiadau, ar ol yr amser hwnw? Os ydoedd Moses, yn y geiriau hyny, yn cau i fynu y Bibl, yna twyllwyr oedd yr holl brophwydi a fuant ar ei ol ef; ïe, condemnia hyd yn nod Fab Duw a'i apostolion, y rhan fwyaf o'r Hen Destament, a'r cyfan o'r Newydd. Os na addefwch fod Moses yn meddwl felly, ni ellwch haeru fod Ioan yn dweyd na roddai Duw ychwaneg o ddatguddiadau ar ol ei amser yntau. Er mor ffol fyddai haeru y cyntaf, nid mwy felly, nac ydyw i Sectariaid yr oes hon haeru yr olaf.

SEC. Rhaid addef yn awr, i chwi wrthbrofi fy rheswm cadarnaf yn gwbl, ac nid allaf lai nac addef, i'm cymmydog Mr. Traddodiad, gael gormod o ddylanwad arnaf. Rhoddaf fy rheswm ar waith o hyn allan, ac addefaf yn rhwydd, eich bod wedi profi eich hun yn ddieuog o'r twyll y meddyliais eich bod dano, a da fyddai genyf ddeall ychwaneg o'ch egwyddorion.

[TRA. yr hwn oedd hyd yn hyn yn gwrandaw yn astud, gan ddisgwyl y frwydr o blaid y Sectariad; pan glywodd fod ei gymmeriad mor isel ganddo, aeth ymaith yn ddigllon, gan gwyno iddo ei hun, "Beth a wnaf; mae fy neiliaid yn gwrthgilio bob dydd, er pan y daeth y "Saint" yma i'r wlad. Agorant lygaid pawb i weled fy ffolineb cyn bo hir. yr wyf yn ofni. Ow! beth a wnaf iddynt? Ond, beth os na allaf ddod a rheswm fel hwynt-hwy; ymgysuraf. mae y lluaws o'm plaid: bloeddiaf yn uwch nac o'r blaen,—twyllwyr,—gau brophwydi,—drwg, drwg i gyd, ac yna ni wna y werinos eu gwrandaw: ïe, dyna y ffordd oreu, a'r unig ffordd bellach. Mae genyf esiamplau da o'm blaen, o holl deulu selog fy Mam gû, Mrs. Catholic, ïe, a'm Mam anwyl fy hunan, Mrs. Protestant; pobl selog dros yr un grefydd a minnau; yr hyn a gredasant hwy a gredaf finnau, er y cwbl: gosodaf hwynt oll yn erbyn y "*Saint*" yma, canys y mae y rhai hyn yn niweidio fy nheyrnas, yn fwy na phawb; ïe, braidd na thröant y byd y tu arall i fynu. Gwnaf â hwynt fel y gwnes â'u brodyr twyllodrus gynt yn Judea, cofiwch fel y gorchfygais yr hen Paul yn Ephesus hefyd; ac ond i'r newyddiaduron, yn enwedig y rhai crefyddol, eu herlid, daw o'r goreu. Gwnewch eich dyledswydd, fy mugeiliaid; bloeddiwch o'r pwlpudau, a dywedwch mai hwy yw y gau brophwydi y sonia yr ysgrythyr am danynt, ag oedd i ddyfod yn y dyddiau diweddaf; dywedwch, ïe, dywedwch yr holl ystorïau a gyhoedda y lleill, canys y rhai na chredant bapyrau newydd, a'ch credant *chwi* yn dweyd hyny. Dim ond gosod *Rev.* yn gynffyn i'r stori. dyna yr hanner olaf, o leiaf, yn wir; prysurwch, onide bydd yn rhy hwyr bydd eich deiliaid wedi credu a dilyn y "*Saint*" hyn. Rhybyddiwch

bawb i beidio a'u gwrandaw. Os ânt yr ail waith wedi y rhybudd, ysgymunwch hwynt o'r synagogau, er esiampl i'r lleill. Dyna fel y gwnant yn y Gweithfâu, &c. Dywedwch a fynoch, ni ddaw byth ofyn arnoch am brawf. Nid oes ganddynt un Argraffwasg yn y wlad, o'u plaid, na nemawr un a gyhoedda ddim iddynt; os gwnant, cred pawb chwi o'u blaen hwy; mae gennych bob mantais arnynt; ymwrolwch, cofiwch ein bod ni oll, a'n Duwies fawr, yn *interested* yn aflwyddiant y bobl ddrwg hyn.]—Exit *Mr. Traddodiad at ei hoff waith.*

SEC. Yr ydwyf wedi rhyfeddu! Er cyhyd y bum yn ngwasanaeth Mr. Traddodiad, ni welais erioed mo hono yn ei liw priodol ei hun o'r blaen. Ni fuaswn yn meddwl ychwaith, fod ganddo y fath ddylanwad yn Nghymru; ond, ofer gwadu yn hwy; mae Mr. TRADDODIAD yn arwain ei filoedd o'n brodyr a'n chwiorydd unwaed, i gaethiwed a thywyllwch; gwnaf fy egni er eu ryddhâu, o hyn allan; ond gan iddo fyned, dywedwch y peth a debygech chwi sydd raid i ddyn ei wneud i fod yn gadwedig. Gwell dechreu yn iawn. Mae llawer o wahanol attebion i'w cael gan ddysgawdwyr yr oes hon, i'r cwestiwn pwysig hwn. 'Rwy'n methu dirnad, pa fodd y gall hyn fod ychwaith, ac addef eu bod hwy oll yn cyrchu at yr un nefoedd. Addefant hefyd nad oes ond un Efengyl, fel trefn i gyraedd yno, ac ant tuag yno, meddant, bawb, ar hyd eu ffyrdd eu hunain. A ydyw yn bosibl i rai o bob rhyw o honynt gyraedd yno ryw bryd, debygech chwi?

SANT. Dyna chwi yn awr, yn y fan y dymunwn weled pob Cymro yndo; ac O na welai ein cenedl lynaws y fath ddylanwadau sydd gan Draddodiad arnynt, nes rhwygo ei orchudd, a gwaeddi yn unllais, Beth sydd raid i ni ei wneud i fod yn gadwedig. Mae hwn yn gwestiwn pwysig iawn, a dylai gael ei atteb yn bwysig ac eglur; canys os ar ol ei ddeall yr esgeuluswch ufuddhau iddo, yr ydych dan gondemniad. Mae atteb y cwestiwn hwn yn beth pwysig, o herwydd hefyd, fy mod wrth hyny yn gyfrifol am eich enaid, tra y parhewch i ufuddhau i'r ammodau o ddywedaf. Yr hwn nad yw yn sicr o'r ffordd i fywyd, ni ddylai ryfygu arwain neb arall; a'r hwn a ŵyr y ffordd, ni ddylai betruso yn hyny. Mae eich gofyniad yn cynnwys dau addefiad pwysig, sef, (1.) Fod Cadwedigaeth yn bosibl ar ryw ammodau. (2.) Fod yn rhaid *gwneud* rhyw beth neu bethau cyn bod yn gadwedig. Ni leshâ i ni wneud dim yn amgen nac a orchymynodd Awdwr y drefn hono; dim llai na mwy, onide gwneud trefn arall fyddai hyny, a gwrthod ei drefn Ef. Ac erbyn hyn, mae'r gofyniad wedi newid peth, a thyma ydyw, Beth a ddywed Efe ei hun sydd i mi wneud? A pha beth a ddywed ei weision anfonedig? Rhaid yn gyntaf, Credu fod y Crist o ddwyfol anfoniad, iddo fyw a marw, ac adgyfodi i'r dyben o foddloni cyfiawnder; neu mewn gâir, credu ei fod Ef yn dweud y gwir am dano ei hun; yr hyn, ond ei ystyried, a ddengys i ni ein pechadurusrwydd ein hunain, nes y delom i edifarhau am ein pechodau, ac i w gadael; ac nid dyma y cwbl ychwaith, er fod hyny yn ddyledswydd ar bawb; etto, nid ŷnt drwy hyny, yn derbyn maddeuant o'u pechodau blaenorol; onide afreidiol fuasai i Grist yn Marc xvi, 16, ddyweud "Y neb a gredo,—AC;" mae y gair bach hwn yn cyssylltu rhyw beth heblaw credu wrth gadwedigaeth—"Ac" pa beth ynte? y neb a gredo ac a roddo ei holl olud i'r tylodion? Nage. Ac a rydd ei gorph i losgi? O na, nid "Ac" a wnelo ddim yn y byd, ond yr hyn a orchymynir iddo. "Y neb a gredo *ac* a FEDYDDIER a fydd cadwedig," ac yna, hwy yn unig a fyddant gadwedig, medd Crist; nid yw yn rhesymol iddo addaw

cadwedigaeth ar y cyfryw ammodau, i rai, os bydd i eraill dderbyn y fendith honno, heb ufyddhau i'r un ammodau; byddai hyny yn ei wneud yn dderbyniwr wyneb, a'i addewid yn ddirym.

Sec. A ydych chwi yn dyweud fod Bedydd mor anhepgorol er maddeuant ag ydyw ffydd ac edifeirwch?

Sant. Nid yr hyn a ddywedaf *fi* a ddeil y prawf, ond dyweud a wnes i y peth a ddywedodd Mab Duw ei hun: ac ni allaf ddeall pa fodd yr achubir neb heb yr olaf, yn fwy nac heb y ddau flaenaf. Mae llawer o wahanol farnau ynghylch yr adnod hon, yr wyf yn addef; rhai a gymmerant y rhan gyntaf, "y neb a *gredo* a fydd cadwedig;" eraill a ddeuant gam pellach; "y neb a fedyddir ac a gredant;" ond, "y neb a gredo *ac* a *fedyddir*" medd Crist. Dyna medd Pedr hefyd, ar ddydd y Pentecost, oedd y drefn i gael maddeuant pechodau, a dyna a ddywedaf finnau heddyw; nid oes achos dadleu ar beth mor eglur, os oes rhyw un yn gwadu Bedydd *er* maddeuant, dadleuant â Mab Duw, ac a Pedr; Act. ii, 38; viii, x, xxii, &c.

Sec. Yr wyf yn ofni eich bod, braidd yn Fedyddiwr, gan eich bod yn dal bedydd credinwyr yn unig. Yn mha ddull yr ydych yn bedyddio?

Sant. Os Bedyddiwr y gelwch fi am hyn, yna yr wyf yn meddwl mai Bedyddwyr oedd Grist a'i apostoliolion; ac felly yr wyf mewn cwmni da, chwi a welwch; ond cewch ddeall fod gwahaniaeth mawr rhyngom ni a'r "*Bedyddwyr*" cyn hir; ïe, cymmaint o wahaniaeth ag sydd rhwng y "*Bedyddwyr*" a Saint dyddiau yr Apostolion. Ac, ynghylch y *dull* o fedyddio, nid wyf yn ystyried hyny o gymaint pwys i'r bedyddiedig i'w wybod, nac yn werth dadlu llawer yn ei gylch.

Sec. Da genyf eich clywed yn dweyd fel yna, canys nid wyf finnau yn meddwl fod fawr o bwys yn y dull y bedyddir neb.

Sant. Yr ydych wedi fy ngham ddeall yn fawr: ni ddywedais nad yw o bwys pa ddull y bedyddir, ond nad yw hyny mor bwysig i'r bedyddiedig ei wybod; er fod y dull, mor bwysig a rhyw beth arall a orchymynodd Mab Duw, neu y rhoddodd ei esiampl yn ei gylch. Onid oedd yn disgwyl i ni ddilyn ei esiampl, pam y rhoes esiampl ini? Gan iddo roddi esiampl, mae o bwys i ni ei dilyn; a dilyn esiampl rhyw un arall yn hyn, yw cael ein bedyddio a bedydd arall, ac addef Awdwr arall. Ydyw, mae'r dull o bwys, ond i'r gweinyddwr y mae fwyaf pwysig; efe a ddylai wybod oreu pa ddull i fedyddio, a sicr iawn, fod pob un o bobl anfonedig Duw yn sicr o'r dull cywir, cyn yr elont i fedyddio neb; a phe bedyddient ryw un ar ei ddymuniad, ar ryw ddull arall, byddai hyny yn rhoddi y gert o flaen y ceffyl, neu yr Ysgolhaig i ddysgu'r Meistr; eithr ni wna y Saint fedyddio neb, ond fel y gwnaeth eu Harglwydd, a'u brodyr hynaf o'u blaen; sef drwy drochiad: yr hyn a brofir yn eu hanes; ond byddai allan o le yma.

Sec. A ydych chwi yn dweyd fod maddeuant yn deilliaw bob amser i'r bedyddiedig?

Sant. Ydyw; os bedyddir ef yn gyfreithlon, ac yntau yn credu ac yn edifarhâu yn wirioneddol.

Sec. Beth a feddyliwch wrth ddweyd y "*cyfreithlon*" yna?

Sant. Mae'n gofyn dwy blaid, pan y sonir am fedydd; canys mae'r weithred yn arddangos fod gweinyddwr, a derbyniwr; a rhaid, nid yn

unig i'r olaf ufyddhau ar yr egwyddor ofynol, ond i'r cyntaf hefyd feddu y cymmwysderau gofynol. Mae mor anhebgorol fod gan y swyddog hawl freiniol i weinyddu yr ordinhad yn nheyrnas Dduw, ac ydyw i swyddog gwladol gael ei osod yn gyfreithlon yn ei swydd yntau; ac ni wnai y nefoedd gymmeradwyo bedydd neb. ond ei gweision anfonedig, mwy nac y gwnai y llywodraeth Frytanaidd gymeradwyo y cyfammod a wnai un o'i deiliaid â llywodraeth Amerig heb ei anfon ganddi i hyny. Cyn y gall Bedydd fod er maddeuant pechodau, rhaid ei fod yn cael ei weinyddu gan un a fedyddiwyd yn gyfreithlon, ac a gafodd ei dderbyn yn aelod, yn gyntaf, yn Nhheyrnas Dduw: ac wedi hyny ei ordeinio i'r swydd honno. Drwy hyny ceir yr awdurdod ddwyfol; yna ar anghyfnewidioldeb y Brenin a addawodd, ceir maddeuant pechodau.

Sec. Mae hyna yn wahanol i bob peth a glywais o'r blaen; ac os gwir yw, mae yn ffordd sier, a hawdd iawn i gael maddeuant pechodau; o'r hyn lleiaf dymunawn wybod mwy am dani; ond soniasoch am deyrnas Dduw; beth sydd i'w ddeall wrth hyny? Onid ei Ysbryd yn teyrnasu yn ei bobl? Dywedir yn rhyw le, "teyrnas Dduw o'ch mewn chwi y mae;" h. y., yr ydych yn blant i Dduw, ac yn meddu Ysbryd Duw ynoch, yw'r deongliad poblogaidd yn ein plith.

Sant. Ni allwn gydweled yn hyn yna, Syr; ac nid wyf yn meddwl fod y geiriau hyny yn profi dim yn debyg i'r deongliad yna; o achos, llefarwyd hwynt gan Grist, mewn attebiad i ofyniad y Phariseaid. [Gwel Luc xvii, 21.] Felly y mae y gair *chwi* yn cyfeirio at y personau y llefarai wrthynt. [Gwel yr adnod flaenorol.] Ac, ai tebyg y buasai Crist yn dweyd wrth yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid drwg a rhagrithiol hyny, eu bod yn meddu ei Ysbryd Ef? Credu yr wyf fi, mai ei eglwys neu ei deyrnas yn sefydledig ar y ddaear; nid ynghalonau y Phariseaid drwg hyny, na neb arall, nac ychwaith tu draw i derfyngylch y ffurfafen, a'r seren foreu oedd yn ei feddwl ef: ond, yn *eu plith* hwy, y Phariseaid Iuddewig. Yr oedd y Brenin a'i swyddogion o honynt hwy; yr oeddynt wedi sefydlu teyrnas nefoedd o fewn eu gwlad, er nas gwyddent hwy; ac felly, Syr, rhaid i chwi addef, mai llywodraeth neillduol Duw yn mhlith ei blant yw ei deyrnas, a hyny ar y ddaear.

Sec. Yr wyf yn gweled felly, yn awr, ond beth sydd yn gynnwysedig mewn teyrnas i Dduw ar y ddaear?

Sant. Mae pedwar o bethau yn anhebgorol cyn y gellir sefydlu teyrnas, sef yn—

1. Brenin i lywodraethu ar y deyrnas.

2 Cyfreithiau o wneuthuriad *dwyfol*, er rheoli y deyrnas honno.

3. Swyddogion o ddewisiad, gosodiad, neu anfoniad dwyfol, i weinyddu y cyfreithiau dwyfol hyny.

4. Deiliaid i'w llywodraethu ganddynt; a rhaid fod pob un o'r pethau hyn yn eu lle priodol, o osodiad dwyfol, ac yn ol y cynllun dwyfol yn gywir, cyn yr attebant yr un dybenion â theyrnas Dduw; ac fel y dywedais, ni byddai bedydd o ddim lles i neb, oddieithr ei weinyddu gan un o swyddogion y deyrnas; ni wnai neb ryfygu gwneyd hyny yn amser yr apostolion chwaith. Ni allai neb wneyd ei hun yn swyddog yn y deyrnas, oddieithr ei alw gan Dduw megys Aaron, (fel y dywed Paul) sef trwy ddatguddiad; ac addas iawn oedd i Paul ofyn dro arall,

"pa fodd y pregethant, onis danfonir hwynt?" Duw oedd yn danfon, bob amser, i wneuthur ei waith ef, ac wedi hyny byddai yn cymmeradwyo eu gwaith, ac yn rhwymo yn y nef, yr hyn a rwyment hwythau ar y ddaear, yn ei enw ef; a thrwy weinyddu y cyfreithiau hyny a roddes iddynt. Gwir nad oes yn y personau ddim yn teilyngu y fendith, ond y cwbl o ras, wedi eu haddaw ar y cyfryw amnodau, drwy ufydd-dod i'r cyfryw ordinhadau. Rhesymol i Dduw gymhwyso, ac anfon gweision i weinyddu y moddion gosodedig, canys ni ellir disgwyl iddo adael i ddyeithriaid ac estroniaid weinyddu ei gyfreithiau; er fod yn ddyledswydd ar bawb i annog y naill y llall i bob daioni a moesoldeb. Mae yn rhinwedd mewn dyn i annog ei gymmydog i gadw y cyfreithiau gwladol, a byw yn foesol: ond byddai yn fradwriaeth yn un dyn gymmeryd yr hawl o weinyddu cyfreithiau'r wlad, na gwneyd dim yn enw y llywodraeth, heb ganiatâd. Pe cymmerai rhyw un eich enw chwi heb gennad: ped ai dyn i bregethu a gweinyddu ymhlith rhyw Enwad crefyddol, heb gennad ganddynt, oni chaffai ei anfon ymaith mewn dirmyg? Ond y rhai a gondemniant hyn, ymhob ystyr wladol, deuluol, fasnachol, a chrefyddol; ydynt yn cyflawni yr un peth eu hunain o hyd eu hoes, heb ystyried y perygl.

Sec. Pa fodd y mae hyny yn bod? A ydych chwi yn meddwl nad oes gan y gweinidogion sydd yn perthyn i'r Enwadau crefyddol yn y wlad, ddim awdurdod gyfreithlon gan Dduw i fedyddio, &c., yn ei enw ei?

Sant. Nid wyf fi yn eu barnu. Gofynwch iddynt hwy eu hunain, "Canys eu geneuau eu hunain sydd yn eu bwrw yn euog, ac nid myfi; a'u gwefusau eu hunain sydd yn tystiolaethu yn eu herbyn."—Job.

Gofynwch iddynt, a'i Duw a'i danfonodd. O, sicr iawn, meddant oll, ac yn gydwybodol ddigon fe allai; er eu bod yn dysgu, yn pregethu, yn bedyddio yn hollol wahanol i'w gilydd. Rhaid addef mai rhyw Dduw rhyfedd a anfonai gynnifer o weision, i gyflawni yr un gorchwyl, mor annhebyg i'w gilydd!! Rhaid ei fod wedi cyfnewid yn fawr, ar a oedd ddeunaw cant o flynyddau yn ol, ac yn llawer hawddach ei foddloni, a'i wasanaethu. Dywedai y pryd hyny, "dysgwch iddynt gadw pob peth a orchymynais i chwi:" *rhai* o'r pethau meddant hwy. Fel ar fel, medd y naill; nagê, fel hyn, medd y llall. "Ni raid i chwi ond credu, ac ymorphwys ar yr hyn a wnaeth Crist drosoch," medd y naill o'i weision; "O na, rhaid eich bedyddio," medd y llall. "Ni waeth pa un" medd un arall; ac felly pawb i'w ffordd ei hun; oll yn myned ar hyd gwahanol ffyrdd i'r nefoedd, ac oll yn weision i'r un Duw anghyfnewidiol, sef hwnw a ddywedodd, nad oes ond un ffordd i'r nefoedd! Pwy a ddichon *eu credu*, nac ymorphwys ar eu dysgeidiaeth, tra maent mor groes i'w gilydd? Nid neb rhesymol, debygaf.

Sec, Ond pa fodd y gwyddom ni pa un o honynt sydd gywir? canys gwelaf yn eglur, na ddichon fod ond un o honynt wedi ei anfon gan Dduw; a pha fodd y gwn nad un o'r cyfryw ydych chwithau?

Sant. Gofynwch, pa fodd y danfonodd Duw hwynt i wneyd ei waith ef: a gawsant ddatguddiad oddiwrtho, ryw fodd, drwy weinidogaeth angel, yspryd y brophwydoliaeth, neu ryw gyfryngau eraill? ac os na welwch ryw fath ar na welais i etto yn eu plith; gwadant yr angenrheidrwydd am yr holl bethau hyn, haerant nad oes eu heisiau mwyach,

od y gyfrol yn gyflawn; a galwant bawb a broffesant amgen yn dwyllwyr; ac etto, haerant eu bod wedi eu danfon rywfodd, gan Dduw. Mae hyn yn ddweyd gormod. Maent yma yn addef dau beth yn wir, sydd hollol groes i'w gilydd:—Duw yn eu danfon, heb roddi un datguddiad iddynt! Yn llefaru wrthynt am fyned, ac etto heb ddweyd dim wrthynt!! Yn weision i'r Duw na lefarodd air wrthynt yn eu hoes! Rhyw weision rhyfedd, onidê, nid ydyw eu mheistr hwynt yn dweyd gair wrth neb byth. Pa fodd y danfonodd efe hwynt, ynte?!!

O, mae ganddynt ryw esgus, mae'n siwr, a syndod beth all fod. Wel, maent wedi cael hyd i'r *original* ei hun, a roddwyd er ys deunaw cant o flynyddoedd, i ryw un ar ddeg o bersonau yn neillduol, pan mewn ystafell gyda eu Brenin; ac maent hwy wedi llyncu y dyb fod yr un commissiwn yn parhau o hyd! A wna hyn y tro i weision dros Dduw'r nefoedd, ar faterion bywyd tragywyddol dynolion! Ond pe ymddygai rhyw un mor ffôl mewn pethau gwladol, a chymhwyso commissiwn perthynol i ryw un wedi marw ato ei hun, caffai ei garcharu yn ddiau; naill ai am wallgof-ddyn, neu elyn y llywodraeth. Digon hawdd, Syr, ond rhoddi rheswm ar waith, yw gwybod y rhagor rhwng gweision anfonedig Duw, a hunan anfonedigion. Mae'r naill yn cael eu cenadwri oddiw th Dduw, ac yn mwynhau ei gymdeithas a'i fendithion; a'r lleill yn cael eu cenadwri oddiwrth yr hon a roddwyd i'r meirw er ys llawer dydd; ac nid ydynt yn cael gair byth oddiwrth eu Mheistr, na bendithion addawedig ei weision. Os ydyw y commissiwn hwnw, "Ewch i'r holl fyd," &c., yn rhoddi hawl i bawb a ddewiso i fyned, pam na fuasai yn ddigon y pryd hyny? os oedd, pam "yr ordeinient iddynt eu hunain henuriaid ymhob eglwys?" Onid oedd yr apostolion yn galw, ac yn ordeinio pob rhai o'r swyddogion wedi rhoddiad yr awdurdod honno iddynt hwy? Gwnaent beth afreidiol, os yw awdurdodau crefyddau yr oes hon mewn grym; ond gwell genyf fi gredu fod yn angenrheidiol i'r apostolion ordeinio pob rhai o honynt; ac felly hyd heddyw y dylai fod, os addefir eu bod hwy yn gwybod eu dyledswydd y pryd hyny. "O na, nid oes eisiau hyny yn yr oes oleu hon," meddant. Yna, nid oes eisiau'r cyfryw fendithion ynte; neu, o'r hyn lleiaf, eu *heisiau* a barhâ hyd nes cyfnewidia eu Cyfranwr, neu gael y cyfryw awdurdod, i'r cyfryw bersonau etto. Yr wyf yn gwybod y gwinga llawer yn erbyn hyn, ond gwir yw bob gair; a chaled yw gwingo yn erbyn symbylau gwirionedd digyfnewid Duw, a'i anwyl Fab. Ond terfynant y ddadl yn eu plith eu hunain, ba rai o honynt yw gweision Duw; a minnau a brofaf fy awdurdod yn eglur. Ni cheisiaf gennych ymddibynu ar fy nhystiolaeth i yn unig, fel y gwna eraill.

Sec. Onid oedd gan yr Eglwysi gynt, hawl i alw, ac i ordeinio Swyddogion?

Sant. Addefaf hyny; ond y mae eisiau profi fod yr holl wahanol Eglwysi sydd yn y wlad, neu rai a honynt, yn Eglwysi i Dduw, cyn y gallant hwy anfon allan weision dros Dduw. Beth pe byddai rhyw Eglwys arall yn honni hawl i anfon gweinidogion drosoch chwi; neu rhyw gymmydog yn anfon ei was i wneuthur eich *business* chwi heb eich cennad? Nid ffolach hyny nac ydyw i gynnulleidfa o bobl ddyfod ynghyd, ac awdurdodi y neb a ddewisent hwy, i weinyddu yn y pethau a orchymynant hwy, a meddwl y byddai hyny yn Eglwys i Dduw; ac felly

ant ymlaen, gan ymfoddloni ar ryw Eglwys o osodiad dynol, heb fod gan Dduw ddim a wnêl â hi. Lled ynfyd fyddai i dyn godi plaid yn Mhrydain, a gwneyd cyfreithiau, heb awdurdod freiniol; a galw y sefydliad hwnw yn deyrnas Prydain. Ac etto, nid ynfytach yw hyn na'r llall.

SEC. Onid oedd yr Eglwysi Apostolaidd yn anfon allan eu swyddogion, a phaham na allwn ninnau?

SANT. Os gallwch brofi mai Eglwys Apostolaidd ydych chwi, gall fod gennych hawl i hyny; ond os y cyfryw ydych, rhaid fod gennych, olyniad Apostolaidd, a dynion yn meddu hawl i ordeinio eraill i'r gwahanol swyddau; canys os collir swydd o'r eglwys, ni ddichon holl bobl y byd ordeinio neb i'r swydd honno drachefn, heb gael hawl uniongyrchol oddiwrth y Brenin. Yn awr, gofynwch i'r holl Eglwysi, a oes ganddynt hawl drwy olyniad Aposlolaidd. Nid oes ei eisiau, medd rhai: oes; ac y mae genym ni, medd eraill; a'r ddwy blaid yn dweyd y gwir, meddant hwy, ac yn Eglwysi i Dduw. Onid yn hytrach, Eglwysi dynion, i ddweyd fel y mynnont. Os honnant yr olyniad, rhaid eu bod yn gwrthddweyd yr holl ysgrythyrau lluosog, sydd yn profi y byddai dirywiad hollol a thrwyadl oddiwrth yr Eglwys Apostolaidd. Gwel Esay xxiv; Dan. vii, 25; 1 Tim. iv, 1—3; 2 Tim. iii, 1—9, a iv, 1—4; 2 Thes. ii, 1—12, &c. Prophwydwyd y byddai i'r bwystfil ryfela yn erbyn y Saint, nes eu *gorchfygu* hwynt. Dywedodd Paul, fod dirgelwch yr anwiredd eisioes yn gweithio yn ei ddyddiau ef, ac y mae Ioan yn Dat. xii, yn ei weled dan yr enw o ddraig, yn llwyddo i yru y Wraig, neu yr Eglwys Apostolaidd, i'r diffaethwch: sef o ŵydd dynion, allan o'r byd; drwy ladd ei swyddogion. Mae pob teyrnas pan felly, o anghenraid wedi ei dileu, a myned yn chwilfriw, Ni ddichon fod teyrnas, neu Eglwys, nefol na daearol, heb swyddogion o osodiad cyfreithlon; ac yn y bennod nesaf, mae Ioan yn gweled y ddraig yn erlid yr holl ddeiliaid o'r Eglwys, "ag sydd ganddynt dystiolaeth yr Iesu." 7fed adn.: "A rhoddwyd iddo (y bwystfil) wneuthur rhyfel â'r Saint, a'u gorchfygu hwynt: a rhoddwyd iddo awdurdod ar bob llwyth, ac iaith, a chenedl. A holl drigolion y ddaear a'i haddolant ef!!" 16: "Ac y mae yn peri i BAWB, fychain a mawrion, cyfoethogion a thylodion, caethion a rhyddion, dderbyn nôd ar eu llaw ddehau, neu ar eu talcennau," &c. Gwelwch, Mr. SEC. fod yn rhaid i'r Eglwys Apostolaidd gael ei diwreiddio o'r byd, cyn y gellid cyflawni y prophwydoliaethau hyn; ac felly, ymha le y mae Eglwys i Dduw ar ol hyny? Dywed yr haneswyr yn yr oesoedd wedi yr apostolion, i hyny gymeryd lle, a bod yr Eglwys Rhufeinaidd wedi lladd y Saint, a honni mai hi oedd y wir Eglwys er hyny: a rhaid i'r holl Eglwysi sydd yn yr oes hon, naill, ai addef hono yn Fam, neu addef nad oes ganddynt achau; canys gellir profi i bob un a glywais am danynt, darddu o honi ryw ffordd; drwy y Diwygwyr, neu allan o Eglwys Harri VIII, sef merch yr hen wraig, ac felly bod yn ŵyrion iddi hi; a rhyfedd fel y cyduna y cyfan o honynt o'r bron, i addef mai Mrs. Catholic yw "Mam puttein-iaid y byd," ac ni wyddant eu bod drwy hyny, yn addef eu hunain yn blant, neu ŵyrion iddi, er mor eglur y dengys Ioan hyny yn Dat. xiii, 11. Mae rhifedi ei thylwyth, bron yn gyflawn bellach, debygaf; ac

oni fyddai yn fwy rhesymol iddynt addef eu hachau, nâ gwadu nad oes ganddynt Fam, nac achau, nac anghen am danynt ?

Sect. Y mae genym ni achau, a gwyddom ein tarddiad, bob rhai o honom. Mae ein heglwysi oll wedi eu sefydlu gan y Diwygwyr enwog, sef Luther, Calfin, Melanethon, Peter Waldo Meno, Zuinglius; ar ol hyny Wesley, Whitfield, Knox, &c., &c. Dynion da, medd pawb, oeddynt hwy oll.

Sant. Nid wyf yn ammheu nad oeddynt hwy oll yn ddynion da, doeth, a doniol, yn ofni Duw, ac yn ei wasanaethu goreu ag y gellent; a gall fod eu dilynwyr yn gystal â hwythau; ac er hyny, heb fod yn ddeiliaid o deyrnas Dduw wedi'r cwbl, mwy nâ'r Cornelius hwnw. O ba le y tarddodd y Diwygwyr enwog hyny? Onid o Eglwys Rhufain y torasant allan, yn amser y Pab Leo, oherwydd iddo werthu trwyddedau maddeuant drwy'r Tetzel hwnw, yn y bymthegfed ganrif? Felly addefant hi yn Fam, er yn llygredig. Ceisio ei diwygio hi a wnaethant hwy am hir amser, gan addef mai hi oedd y wir Eglwys, nes methu a'i diwygio, a chael eu hysgymuno o honi. Ni feddyliasant hwy am sefydlu un eglwys arall i Dduw; ond gan iddynt lwyddo yn fwy nâ'u dysgwyliad i gael dilynwyr, dysgasant y rhai hyny oreu ag y gallent, heb broffesu bod yn weision anfonedig oddiwrth Dduw. Felly hefyd y rhai diweddaf a ymadawsant o Eglwys Loegr, gan naill ai addef nad oedd ganddi hi awdurdod, neu nad oedd ganddynt hwy yn eu hymddidoliad oddiwrthi: a iammheu ddarfod i bob rhai o honynt achosi llawer o ddaioni, a moesoldeb. Nid oes lle i feio arnynt hwy: ond pa fodd y dichon dynion call feddwl fod y cynnulleidfaoedd hyny, erbyn hyn, yn gynnifer o eglwysi i Dduw, nis gallaf ddirnad, gan hòni hawl i anfon allan weision, a dweyd mai Duw â'u hanfonodd; gan addef, ar yr un pryd, nad ydynt yn cael dadguddiad oddiwrtho, nad oes ganddynt olyniad Apostolaidd, "ac nad oes neb yn cymmeryd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, oddieithr ei alw gan Dduw, megys Aaron." Ni ddanfonodd Duw neb erioed, ac ni ddichon wneyd ychwaith, heb ddadguddio hyny yn rhyw fodd, mwy nag y gallech chwi anfon eich gwas allan, heb ddadguddio hyny iddo yn rhyw fodd. A phan anfonoch ef, oni ddylai efe wneyd fel y paroch iddo; felly gweision Duw hefyd, pan anfono efe hwynt, a wnant ei waith ef yn gysson fel y gorchymyna; nid y naill yn dweyd un ffordd, a'r lleill y ffordd arall. Mae yn wrthddywediad, i eglwys yn y byd hòni bod yn eglwys i Dduw, a gwadu dadguddiad uniongyrchol oddiwrtho; nid oes hanes yn y Bibl fod ganddo y fath un wedi bod erioed.

Sect. Mae'r awdurdod yn parhau yn y Bibl, yn gymmaint ag y sydd eisieu yn awr.

Sant. Gwaeth fyth, Syr; os felly, paham y rhaid cael galwad yr eglwys, ac ordeiniad dynion, i'ch rhoddi mewn swyddau? Os cafodd eich hynafiaid awdurdod yn y Bibl, paham nad all y lleill gael yr un awdurdod yn yr un llyfr yn awr? Mae y ddau beth yna yn groes i'w gilydd; onid ydynt, Syr?

Sect. Mae'r Bibl yn dangos fod eisieu ordeinio i swyddau, oherwydd y byddai yr Apostolion yn gwneyd hyny.

Sant. Addefaf fod yn rhaid i hyny fod, cyn y gall neb weinyddu un ordinhad. Yr apostolion oedd yn gwneyd hyny, ond pa hawl a

rydd hyny i *chwi* i wneyd yr un peth? Yr oeddynt *hwy* wedi eu hordeinio gan eu Harglwydd yn gyfreithlon, a'u danfon. "Nid chwi a'm dewisasoch i, ond myfi a'ch dewisais chwi, ac a'ch ordeiniais chwi, fel yr eloch, ac y dygoch ffrwyth, ac yr arhosai eich ffrwyth;" sef trwy olyniad, o oes i oes, os ufyddhâi pobl iddynt. Ond yr ydym wedi profi ddarfod iddo ragweled na wnai yr oesoedd wedi hyny ufyddhau; ac am hyny, dywedodd drwy ei broffwydi yn eglur, fel y profwyd, y lladdent ei weision, nes dystrywio ei Eglwys o'r byd. Dyma'r pwnc a ddymunwn wybod, pwy roes hawl i'ch pobl chwi i ordeinio neb? Ai y rhai oedd o'u blaen? Yna, pwy a'u hordeiniodd hwythau? a pwy cyn hyny? Gwelwch fod y cyntaf wedi naill ai gwneyd hyny heb hawl, neu gael hawl Rhufain, neu gael hawl yr ail waith o'r nef, drwy weinidogaeth angel, neu Grist ei hun. Rhaid ei bod y naill neu'r llall. Pa un a ddewiswch? Os yr olaf, yna mae pob rhai o'r Diwygwyr hyny yn cyfaddef na ddaeth angel atynt erioed. Os yw y Bibl yn rhoddi i chwi hawl i fedyddio, yna mae y *llyfr* sydd genym ninnau, sef llyfr cyfraith y wlad, yn rhoddi yr un fath hawl i'r neb a fyno wneyd ei hun yn swyddog gwladol, a gall gymmeryd arno y swydd a fyno, ond iddo gario y llyfr dan ei gesail bob amser. Os oes awdurdod yn y llyfr i ryw un, gofynaf fel Paul gynt, "Pa fodd y pregethant, onis danfonir hwynt?" Ai gan y *llyfr* a feddylia efe? os felly, mae Duw wedi newid ei ddull o anfon: pa fodd y profir hyny? Os oes cymmaint â hyny o awdurdod yn y llyfr, yna dylai y *llyfr* gael ei roddi ar eu penau i'w hordeinio, yn lle dwylaw dynion; canys yr oedd yn rhaid i'r cyntaf, mae yn debyg, ordeinio ei hun, drwy roddi y llyfr ar ei ben ei hun! Mor ffol fyddai gwneyd hyn: etto, rhaid i'r rhai a hònant eu hawdurdod drwy y llyfr addef hyn, neu waeth dyrysweh, sef olyniad Pabaidd. O na; nid yw yn rhesymol, nac ychwaith yn bosibl, i hyd y nod llyfr y llyfrau, er mor dda yw, anfon gweision dros Dduw, na rhoddi un hawl i neb fyned. Ni ddichon achub neb, ac ni feddyliodd Duw i neb gredu y gwnai y Bibl yn unig eu hachub; ond dweyd mae y Bibl yn eglur am y modd yr achubwyd ereill, a'r ffordd i ninnau gael y cyfryw fendithion â hwythau, os ufyddhawn i'r un gorchymynion â hwythau. Mae yr un achos yn dwyn yr un effaith etto. Nid oes derbyn wyneb gyda Duw; ac yna, rhaid i ni gael ein bedyddio er maddeuant pechodau, fel hwythau, a chan un o weision anfonedig Duw a fyddo wedi cael awdurdod gyfreithlon i hyny, cyn y gallwn dderbyn y fendith, na dyfod i deyrnas Dduw.

Sect. Wel, yr ydych wedi fy synu yn awr. Beth a ddaw o'r miloedd Cristionogion sydd wedi marw yn yr oesoedd o'r blaen, ïe, er pan aeth yr Eglwys i'r diffaethwch. A ydynt hwy oll wedi myned i uffern, debygech chwi?

Sant. Ni ddywedais ddim yn debyg i hyny, ac ni ddywedaf ychwaith; maent oll wedi myned i wyddfod Barnwr cyfiawn, i gael eu gwobrwyo am bob daioni a wnaethant yma; ac yn ol y goleuni a roddwyd iddynt, y bernir hwynt. Derbynia pawb o honynt yn ol y gweithredoedd a wnaethant yn y corff, pa un bynag ai da ai drwg. Os na ddanfonodd Duw genadwri atynt, drwy anfon ei weision, yna ni chospir hwy am ei wrthod, sef am wrthod yr hyn ni chynnygiwyd iddynt. Ni byddai hyny yn gyfiawn; ac os buant fyw yn ol y ddeddf a rodd-

wyd iddynt, heb allu i gael un well, yn ol hòno eu bernir; ond os gwrthodasant un well, yna condemnir hwynt yn ol hòno; "canys hyn yw'r ddamnedigaeth, ddyfod goleuni i'r byd, a charu o ddynion y tywyllwch yn hytrach nâ'r goleuni." Yna mae eu gwaith blaenorol, er yn dda y pryd hyny, yn anghymmeradwy ar ol hyny; "canys yr hwn a wybu feddwl ei Arglwydd, ac nis gwnaeth, a gurir â llawer o wialenodiau:" ond, "y rhai hyny nad oes ganddynt ddeddf. a gyfrgollir hefyd yn ddiddeddf." Felly, Syr, nid ydynt hwy o anghenrhaid yn *uffern*, o achos i'w henafiaid ladd gweision Duw, a'u hamddifadu hwythau o'r cyfleusdra i ufyddhau i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Digon iddynt hwy fod yn amddifad o'r gogoniant a'r bendithion, drwy bechod eu tadau; ond yr enaid a becho, hwnw a fydd marw, am ei bechod ei hun; felly hwythau, i'r graddau cyferbyniol i'r Paganiaid diddeddf. Nid yw fy Mibl yn dysgu i mi, fod pawb yn myned, pan yn marw, naill ai "i waelodion isaf y pwll diwaelod," neu ynte "i ganol dysclaerder gogoniant y Jehofa." Nage; pob un yn derbyn yn ol ei weithredoedd. Bydd gwahanol raddau, a lleoedd i'r amrywiolion gael cyfiawnder hollol. Traddodiad yw y gwrthwyneb i hyn.

Sect. Ai tybied fod cyfiawnder y Duw trugarog a graslawn wedi gadael i'r holl fyd fod am gannoedd o flynyddau yn gorwedd mewn tywyllwch, heb un eglwys iddo ynddi?

Sant. Gofynaf i chwithau, a oedd yn gyfiawn iddo adael yr holl genedloedd mewn tywyllwch, am dros fil o flynyddau, cyn dyfod Crist? A ydyw yn gyfiawn iddo adael dros chwe chant o filiynau mewn tywyllwch paganaidd, i addoli pren a maen, yn awr? Mae hyny yn bod mewn ffaith; ac etto mae cyfiawnder Duw mor ddysclaer ag oedd am y 1260 o flynyddau er pan aeth ei wir Eglwys Apostolaidd i'r diffaethwch. Os gwna Duw gam yn y naill, gwna gam hefyd yn y llall.

Sect. Ond yr wyf wedi meddwl gofyn i chwi er ys tro, o ba le y cawsoch yr awdurdod hòno ag sydd mor anhebgorol i iawn weinyddiad o'r ordinhadau, gan eich bod yn dangos mor eglur fod yr holl enwadau ereill yn amddifad o honi?

Sant. Dyna gwestiwn o fawr bwys, ac y mae yr atebiad yn ymddangos, ar yr olwg gyntaf, yn anhygoel, a rhy dda i fod yn wir gan rai, oherwydd fod traddodiad wedi rhwymo yr oes hon â'i raffau haiarnaidd, nes gwadu yr hyn a addefant yn ogoniant penaf ei broffesu mewn oes arall. Rhaid bod yn fyr gyda hwn y tro yma, gan obeithio cael helaethu y tro nesaf. Ond y dechreuad o'n heglwys ni ydyw, fod y Duw trugarog, o'i dosturi, wedi edrych i waered o'r nefoedd ar feibion dynion, i weled a oedd neb cyfiawn yn ymgeisio â Duw; ond cyd-ddifwynasent oll—nid oedd a wnai ddaioni, nac oedd un. Am fod y tadau wedi troseddu y cyfreithiau, cyfnewid yr ordinhadau, a diddymu y cyfammod tragwyddol—am hyny, efe a anfonodd un o'i angylion glân, o wlad y goleuni, ar neges i'r ddaear isod: ei genadwri oedd dyfod â'r Efengyl dragywyddol i ni, yn gyflawniad o lawer o brophwydoliaethau, yn enwedig yr hyn a welodd Ioan (Dat. xiv, 6)—"Angel yn ehedig yn nghanol y nef, a'r efengyl dragywyddol ganddo, i efengylu i bob llwyth, iaith, pobl, a chenedl;" gan ddywedyd fod amser ei farn ef yn dyfod; ac y mae hyn i gymmeryd lle, gwelwch, ond ychydig cyn dod dydd ei farn Ef. Mae yn rhaid addef wrth hyn, naill

ai fod pob llwyth, iaith, pobl, a chenedl, yn hollol amddifad o'r Efengyl dragywyddol yn ei chyflawnder a'i phurdeb, neu ynte fod yr angel hwnw yn dyfod ar neges afreidiol. Ond fel y dywedais, yn y bennod flaenorol, gwelodd Ioan yr Eglwys yn myned i'r diffeithwch; a'r "mab gwrryw" hwnw oedd yr offeiriadaeth, neu'r hawl, yr awdurdod yn ol urdd Melchisedeck, a roddwyd i'r Apostolion gan yr Iesu, yr hwn oedd yn offeiriad yn dragywyddol yn ol urdd Melchisedeck. Pan laddwyd y swyddogion oeddynt yn meddu yr awdurdod hon, i weinyddu ordinhadau ty Dduw yn gyfreithlon, cymmerwyd hi at Dduw, ac at ei orseddfainc ef; ac yn y fan hon, mae Ioan yn ei gweled yn cael ei hadferu yn ol, drwy i'r angel ddyfod â hi oddiwrth Duw, a'i orseddfainc ef, ar ol bod yno 1260 o flynyddau, yn mha amser yr oedd yr Eglwys yn y diffeithwch. A'r angel hwn a ddaeth yn ngyflawnder yr amser, ac a roddodd orchymyn i ddynion i fyned allan a phregethu y Efengyl dragywyddol a bregethasai Mab Duw a'i apostolion, gan ddywedyd fel y dywedasai Crist ei hun—"A'r arwyddion hyn a ganlynant y rhai a gredant; yn fy enw i y bwriant allan gythreuliaid, &c." (Gwel Marc xvi, 18, 19.) A hwy a fuant ufydd i'r alwedigaeth nefol; a'r rhai a gredasant, ac a fedyddiwyd ganddynt, a dderbyniasant yr Ysbryd Glân, yn ol addewid Duw, drwy arddodiad eu dwylaw hwy; a Duw yn cyd-weithio, drwy y nerthoedd â'r rhyfeddodau sydd yn canlyn, nes y mae cleifion yn cael iachad, drwy gael eu heneinio ag olew yn enw yr Arglwydd, gweddi'r ffydd, ac arddodiad dwylaw yr henuriaid. A rhoddodd yr angel hwn iddynt orchymyn i sefydlu teyrnas i Dduw, ac ynddi apostolion, proffwydi, efengylwyr, doniau gwyrthiau, doniau iachau, &c., fel yr Eglwys Apostolaidd. (Gwel 1 Cor. xii; Eph. iv; Rhuf. xii. Ond cewch ddesgrifiad manwl o'n heglwys ni yn y traethawd hwnw a gyhoeddwyd yn ddiweddar, ac a elwir "*Y Farw wedi ei chodi yn Fyw, neu yr Hen Grefydd Newydd.*" Ceisiwch hwnw; dyna y cyntaf a argraffwyd, yn y Gymraeg, am y grefydd nefolaidd hon; ac af finnau yn mlaen gyda'r hanes. Wedi i'r dynion hyny ddechreu pregethu, dechreuodd satan chwyrnu, y pregethwyr Pharisaidd ymgynhyrfu, wrth weled eu praidd gonest eu calon yn credu, yn cael doniau yr Ysbryd, ac yn tystiolaethu y gwir o'r pethau hyny. Ac er eu holl erlid o hyny hyd yn awr, yn mlaen yr â yr achos, nes mewn ychydig flynyddau, mae yn dwyn yn ei gôl dros dri chan mil o ddysgyblion, yn mhedwar congl y ddaear, y rhai ydynt yn derbyn tystiolaeth oddiwrth Dduw iddynt eu hunain, fel nad ydynt yn ymorphwys ar dystiolaeth dynion; ond megys y dywedodd Crist, "Os oes neb yn ewyllysio gwneuthur ewyllys fy Nhad, yr hwn sydd yn y nefoedd, efe a gaiff wybod am y ddysgeidiaeth ai o Dduw y mae, ai o honof fy hun yr wyf yn llefaru." Gwelwch, syr, nad oes bosibl i ni dwyllo neb, ac ni ellid twyllo neb gydag efengyl Crist, canys y mae yn hunan-brofiedydd, ac felly y mae yn parhau gyda ninnau; ond, pa un o grefyddwyr yr oes hon a ddaw â chwi i'r wybodaeth hon o'u crefyddau, neu a roddant i chwi allwedd anffaeledig er profi eu crefydd? Onid yw y goreu o honynt yn gofyn i chwi fyw ar ddysgwyl a gobeithio hyd eich bedd, ac yna hwyrach y byddwch gadwedig? ac os na fyddwch, yna gwnewch goreu gellwch, canys ni chewch ail dreial! Ond nid felly

crefydd Crist. Ac y mae y gweinidogaeth angylion, gweledigaethau, dadguddiedigaethau, a'r doniau a dderbyniodd y Saint, wedi eu sicrhau i ni, a'u gwirio drwy dystiolaethau miloedd o rai sydd yn awr yn fyw, ac amryw wedi marw tra yr oedd y dystiolaeth ar eu geneuau, ac ereill sydd wedi selio y gwirionedd o'r hyn a welsant, a glywsant, ac a deimlasant, â'u gwaed, mewn llawer dull a modd. Clywais a gwelais amryw o'r cyfryw dystion fy hunan. Er mor gyfeiliornus yr ymddengys hyn i'r oes ragfarnllyd hon, mae yn ddigon gwir fod Duw y nefoedd wedi anfon angylion i'n daear ni yn ein hoes, y rhai sydd wedi dechreu y gwaith mwyaf rhyfeddol yn ei ddarpariadau, gogoneddus yn ei weithrediadau, a daionus yn ei effeithiau, o bob gwaith a wnaed ar y ddaear hon. Wele ddydd mawr ac ofnadwy yr Arglwydd yn dyfod ar frys; pwy a ddichon sefyll? Neb ond y rhai a ufyddhant efengyl dragywyddol ein Harglwydd Iesu Grist.

Sect. Mae hyn yn ymddangos yn newydd a dyeithr i mi, ond rhaid eich bod chwi yn ei gredu cyn y sicrhaech y gwir o hono mor gadarn, fod Angel wedi tirio ar ein daear ni mewn difrif! A ydych yn sicr na thwyllwyd mo honoch chwi?

Sant. Os felly, nid wyf yn unig; mae cannoedd o filoedd wedi eu twyllo, a rhoes rhai eu bywydau i lawr dros y twyll, os twyll ydyw. Hawdd yw dweyd, Yr ydych wedi eich twyllo; ond mor anhawdd profi ein bod wedi ein twyllo, ag ydyw profi fod y saint yn yr oesoedd cyntefig wedi eu twyllo, gyda'r un pethau. Wrth brofi ein twyll ni, yr ydych, ond rhesymu drwy *analogy*. yn gorfod troi yn Ddeist, a chondemnio yr apostolion am dwyllwyr, am iddynt hòni gweled angylion, a chael doniau yr Ysbryd Glan. Gwell credu y naill a'r llall o honom nâ hyny, canys cyffelyb yw ein proffes ni a hwythau. Nid twyll yw hyn, ond gwyrthiau Duw.

Sect. Pa bryd yr ymddangosodd yr angel hwnw?

Sant. Chwi a ellwch ateb eich hun o'r Bibl, pa bryd yr oedd i ddyfod, ac y mae pob peth yn sicr o ddyfod yn ei amser gan Dduw. Gwyddoch fod yr Eglwys i aros yn y diffeithwch, yn ol Ioan, am 1260 o flynyddau; ac yna, nid oes eisiau ond cael yr amser yr aeth yno, a rhoddi y ddau ynghyd, a hyny a brawf yn sicr pa bryd y daw oddiyno, sef yr un fath eglwys yn gymhwys, ac ynddi apostolion, prophwydi, a doniau gwyrthiau, fel yr oedd cyn myned yno; onide, nid hyhi fyddai, ond rhyw un arall. Ni rydd ein Bibl ni hanes pa bryd yr aeth i'r diffaethwch, canys darfu Ioan â hi ar ynys Patmos, 96 A.D.; ac yr oedd y pryd hyny, medd efe, saith o eglwysi yn Asia. Felly, nid oes dim i'w wneyd, ond cymmeryd yr haneswyr cywiraf a gawn o'r oesoedd canlynol, ac ni wn am well awdwr nâ Mosheim, yr hwn a ddywed fod eglwysi y saint mewn bodoliaeth, yn gwneyd gwyrthiau, ac yn olynwyr yr apostolion, hyd y flwyddyn 570, pan ddaeth erlidigaeth mor dost, nes eu lladd a'u gwasgaru gan lywodraeth Rhufain, fel nad ydynt mwy: ac yna, pan roddir y ddau nifer uchod ynghyd, dengys y flwyddyn (nid yr amser y deuai diwedd y byd, fel y dywed y Milleriaid, er y dywedir mai nyni sy'n ei ddweyd), y deuai yr angel i roddi hawl i ddynion sefydlu teyrnas i Dduw ar y ddaear, sef yn 1830, A.D. Amser nodedig, am yr hwn y cenir gan filoedd ar eu phialau euraidd ar y ddaear hon; a dechreuant cyn pen hir. Henffych iddynt.

SECT. Y mae hyny wedi passio er's pymtheg mlynedd. Ai dyna'r amser y daeth yr angel? Rhyfedd na chlywsem cyn hyn am beth mor rhyfedd.

SANT. Ie, Syr, yn y flwyddyn 1830, yn ol y brophwydoliaeth, y sefydlwyd Eglwys Iesu Grist, Saint y Dyddiau Diweddaf, drwy allu dwyfol, a phyrth uffern nis gorchfygant hi; ond hi a lwydda, ac a fydd yn llenwi yr holl ddaear cyn hir iawn. Deuwch iddi. Goreu po gyntaf; ac ni bydd edifar genych byth. Beth! onid y chwi oedd yn synu na buasech wedi clywed yn gynt, ac etto daethum yn rhy fuan genych yn awr! Pa fath esgus yw hwna?

SECT. Ond i bwy yr ymddangosodd yr angel hwnw? Pa fath ddynion oeddynt? Rhai dysgedig iawn, mae yn debyg; ai rhyw Rev., neu D.D., gyda rhyw grefydd boblogaidd oeddynt, ynte pwy?

SANT. Meddyliwch pwy a ddewisech chwi iddynt fod; ai tybied y gallai y byd gyduno i ddewis y person a gaffai y fraint fawr hon, fel y credent ei dystiolaeth ef? Ofer dysgwyl hyny, canys ni chredai yr un blaid, oddieithr i'r angel ymddangos i un o'u mawrion hwy; a phe daethai felly, gwrthodasai y lleill ef am hyny, ac felly byddai pob plaid ond un yn cael eu siomi am iddo eu hesgeuluso hwy. Eithr, oni ddylem adael i Dduw ddewis ei offerynau? Efe a ŵyr oreu pwy i anfon drosto, canys felly y gwnaeth, modd bynag. Ni ofynodd genad gan un blaid; ac efe a symudodd y rhwystr o'u ffordd, drwy ddyfod at rai nad oeddynt yn perthyn i'r naill enwad crefyddol mwy nâ'r llall, ond y rhai oeddynt â'u crefydd rhyngddynt â Duw, a thra yn y goedwig y nos yn gweddio; ac fel arferol, dewisodd y rhai gwael ac annysgedig, fel y byddai godidawgrwydd y gallu o Dduw, ac nid o honom ni. Ac nid dyma y waith gyntaf iddo anfon ei angylion at fugeiliaid, a thrinwyr anifeiliaid, o'u mebyd.

SECT. Pa fodd y gallaf gael yr Ysbryd Glân?

SANT. Nid wyf yn gwybod am un addewid o fewn i'r gyfrol santaidd, y derbynia neb yr Ysbryd Glân, ond trwy arddodiad dwylaw gweision Duw, y rhai fyddant wedi derbyn awdurdod ddwyfol i weinyddu yr ordinhad bwysig hono, a hyny *wedi*, ond nid *cyn* eu bedyddio, yn gyfreithlon, a chael maddeuant o'u holl bechodau drwy hyny, oddiar eu ffydd a'u hedifeirwch. Mae ambell eithriad i'r ddefod hon, megys Cornelius gynt, yr hwn a dderbyniodd yr Ysbryd Glân cyn ei fedyddio; ond gwyrth oedd hyny er profi i'r Iuddewon anghrediniol oedd yno, fod hawl gan y cenedloedd crediniol hyny i'r efengyl. Nid oedd addewid y derbynient ef felly, na neb arall o honynt, wedi hyny. Gallem nodi un neu ddau o eithriadau, yn dangos ddarfod i Dduw roddi yr Ysbryd yn wahanol i ddefodau gosodedig yr efengyl; ond gan Dduw ei hun y mae hawl i eithrio. Dirmyg arno ef yw i ddynion geisio unrhyw fendith addawedig, heblaw drwy ufydd-dod i'r drefn a osododd efe i'r cyfryw ddybenion: byddai hyny yn wrthod derbyn ganddo bob peth ond yn y ffordd a ddewisent eu hunain. Nid rhyfedd fod mor lleied o dderbyn yn yr oes hon. Maent yn ceisio ar gam: ac y mae yn rhaid i Dduw gyfnewid, cyn y gallwn gael ei Ysbryd heb arddodiad dwylaw. Mae amryw ddybenion i'r ordinhad hon, heblaw er derbyn yr Ysbryd Glân, y rhai ydynt rhy faith i'w henwi yma. Ond, er ateb eich cwestiwn, os gallaf brofi fod yr apostolion yn gweinyddu

yddu hon, a bod pobl yn derbyn yr Ysbryd drwy hyny, yna prawf naill ai mai dyna y ffordd i ninnau ei gael, neu ynte fod ychwaneg nag un ddefod at hyny. Rhaid fod y naill neu y llall yn ddiffygiol ac afreidiol; ac yna rhaid fod eu hawdwr yn feius, yr hyn sydd yn gabledd. Felly, nid oes gan Dduw perffaith ond un ddefod i'w gweinyddu er cael ei Ysbryd; a phe rhoddai yr Ysbryd hwnw heb ufyddhau i'r ddefod hòno, byddai drwy hyny yn ei ddibrisio, ac yn gwrthryfela yn ei erbyn ei hun. Gwelwch nad oes yn eisieu, ond profi o'r Bibl mai trwy arddodiad dwylaw y derbynient yr Ysbryd; a hyny, ar yr ystyriaethau a nodais, yw yr unig ffordd i'w gael: a chan eich bod yn ysgrythyrwr, cyfeiriaf chwi i'r manau lle profir hyn. Cewch yn Act. viii, 17, "Yna hwy (yr apostolion) a ddodasant eu dwylaw arnynt, a hwy a dderbyniasant yr Ysbryd Glân." Gwelir oddiwrth adn. 12, mai *wedi* iddynt gael eu bedyddio, ond nid cyn hyny, y derbyniasant yr Ysbryd: "Eithr pan gredasant i Philip yn *pregethu* (nid yn rhoddi arwyddion) y pethau a berthynant i deyrnas Dduw (sef cyfraith y mabwysiad), ac i enw Iesu Grist (ffydd yn ei enw ef), hwy a fedyddiwyd, yn wyr ac yn wragedd." Yma gwelwn mor bell yw dynion o dderbyn yr Ysbryd Glân cyn credu a dychwelyd, fel yr oedd y Samariaid hyn, wedi, nid yn unig credu, ond cael eu bedyddio, cael maddeuant o'u pechodau, a chael "llawenydd mawr yn yr holl ddinas" y bu'r peth; ac etto profir yn adn. 14, "nad oedd efe (yr Ysbryd Glân) wedi disgyn ar neb o honynt, ond yn unig eu bod wedi eu bedyddio yn enw yr Arglwydd Iesu." Dyna i chwi Fibl yn profi y gosodiad uchod; ac wedi hyny, dyna ddau o apostolion penaf yr eglwys, y rhai a gawsant agoriadau y deyrnas, yn penlinio gyda y bobl hyn i weddio yn enw yr hwn a ddywedodd wrthynt ychydig yn ol—"Pa bethau bynag a rwymoch ar y ddaear, a rwymir yn y nefoedd." &c.; a dyma destun eu gweddi, "ar i'r rhai hyny dderbyn yr Ysbryd Glân!" Paham y gwnaent hyny, os oeddynt wedi derbyn yr Ysbryd Glân i'w dwyn i gredu? a dacw hwy yn codi ar ol y weddi, yn amddifad o'r Ysbryd Glân; a phe buasent yn gweddio hyd heddyw, ni buasai wedi dyfod arnynt, er eu gweddiau oll; neu ynte, buasai raid cyfnewid trefn Duw i'w gael. Paham hyny? Oherwydd nad gweddi yn unig yw y drefn a osodwyd er derbyn yr Ysbryd Glân. Nid gweddio am iddo ddisgyn arnynt pan oeddynt yn gweddio, a ddarfu Pedr ac Ioan (gwyddent yn well nâ hyny), ond ar i Dduw gymmeradwyo eu gweinyddiad hwy o'r moddion, a rhoddi yr Ysbryd Glân iddynt *pan ddodent ddwylaw arnynt*, yr hyn a wnaeth Duw yn ol yr hanes. Dyma brawf dwyfol, ynte, mai dyma yr unig ffordd i'w gael. "*Yna* [wedi y gweddio a'r cyfan], hwy a ddodasant ddwylaw arnynt [i ba ddyben, os daeth trwy weddio?]; yna [y pryd hyny, a dim cynt] hwy (y Samariaid crediniol) a dderbyniasant yr Ysbryd Glân." Gwel adn. 18, "A phan *welodd* Simon mai trwy *arddodiad dwylaw* yr apostolion y rhoddid yr Ysbryd Glân." *Gwelodd* hwnw, mai dyna y drefn i'w gael; ac y mae mor eglur, fel na allaf ddirnad paham na welai pawb hyny. Mae yr esiampl eglur hon yn ddigon er profi hyn i chwithau, onid yw?

SECT. Ydyw; mae yn eglur ddigon mai drwy arddodiad dwylaw y derbyniodd y rhai hyny yn Samaria ef, ond nid felly y derbyniodd y rhai hyny ef ar ddydd y Pentecost.

**Ni ddywed Pedr air am arddodiad dwylaw wrthynt hwy y pryd hyny. Pa fodd y cysonwch y pethau hyn?**

SANT. Ai tybied y buasai y Pedr hwn yn addaw yr Ysbryd Glân i'r rhai hyny heb y ddefod hon, ag a wna mor anhebgorol i'r Samariaid er ei gael? O na; nid oes derbyn wyneb gydag ef yn hyn, rhwng Iuddew a Groegwr, caeth na rhydd; nid oes wahaniaeth, yr un yw Duw i bawb, ac at bawb a ufyddhant i'w ddefodau gosodedig; ac felly, rhaid fod y naill a'r llall yn derbyn yr un Ysbryd drwy arddodiad dwylaw, fel eu gilydd. Er nas enwodd Pedr y ffordd, ar ddydd y Pentecost; etto, mae yn amlwg iddo roddi gwersi ereill iddynt yn gyntaf, ac wedi ufyddhau y rhai hyny, "edifarhewch a bedyddier pob un o honoch *er maddeuant pechodau;*" ac yn ganlynol i, neu wedi hyny, chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glân, nid trwy y bedydd hwnw â dwfr, ond fel y dangosai efe iddynt yn ei bryd. Yr oedd gan Pedr a'r apostolion hawl i arddodi dwylaw, er nad oedd gan Philip, yr hwn a allai bregethu a bedyddio â dwfr yn rheolaidd. Felly profir, na allai y Samariaid hyny dderbyn yr Ysbryd Glân, cyn dyfodiad Pedr ac Ioan yno, am nad oedd neb â hawl i weinyddu y ddefod. Mor ofalus y mae Duw i barchu yr ordinhadau a osododd ei Fab; ac oni ddylai ei weision eu hufyddhau? Ond, mae genyf dystiolaeth Paul, yn profi mai trwy arddodiad dwylaw y derbyniodd yr Hebreaid hyny yr Ysbryd Glân ar ddydd y Pentecost. (Gwel yn y 6fed ben. o'i lythyr atynt.) Mae yn cyfeirio at yr ordinhadau oedd ganddynt, i'r rhai oedd yn dechreu eu gyrfa ysbrydol; yn gyntaf, "ffydd, ac yn ail edifeirwch, i athrawiaeth bedyddiadau, ac arddodiad dwylaw," &c. Rhaid addef mai dyna eu defodau yn yr eglwys, neu buasent yn gwrthddweyd yr apostol pan gyfeiriai atynt—a hyny yw addef fod yr apostolion wedi arddodi dwylaw ar y rhai hyny y cyfeiria atynt ar ddydd y Pentecost; ac ni wn i paham y dysgwylia neb gael yr Ysbryd Glân heb arddodiad dwylaw, mwy nag y dysgwylient gael maddeuant, heb ufyddhau i'r ordinhad arall a osodwyd i'r dyben hyny, sef bedydd? Ond i fod yn fyr, darllenwch pan eloch adref Act. xix. 1—6, a chewch weled yn eglur fod pobl yn credu, &c., ac etto heb dderbyn yr Ysbryd Glân drwy hyny; onide, paham y gofynai Paul i'r rhai hyny (wedi addef eu bod yn ddysgyblion, a'u bod wedi credu), "A dderbyniasoch chwi yr Ysbryd Glân er pan gredasoch?" Gwelwch, oddiwrth ei esiampl yn eu bedyddio, nad oeddynt wedi eu bedyddio yn iawn, am nad oedd gan yr hwn a'u bedyddiodd hawl i hyny, er eu bod hwy yn meddwl mai i fedydd Ioan eu bedyddiwyd; ond dengys Paul iddynt y twyll o hyny, ac wedi hyny rhoddodd ei ddwylaw arnynt. Yna (ond nid cyn hyny), "wedi i Paul ddodi ei ddwylaw arnynt, yr Ysbryd Glân a ddaeth arnynt, a hwy a draethasant â thafodau, ac a brophwydasant." Paham na achosa yr Ysbryd a dderbynia yr oes hon yr un pethau? Am nad ydynt yn derbyn yr un Ysbryd, ond rhyw ysbryd arall; a pha fodd y derbyniant yr Ysbryd Glan yn awr heb yr arddodiad dwylaw hyny ag oedd mor anhebgorol y pryd hyny? Yr un yw yr efengyl, ac y mae ei hordinhadau mor anghyfnewidiol â'r Awdwr o honynt, a'i Ysbryd ef a ddwg yr un ffrwythau yn mhob oes o'r byd. Mae eisieu profi yr ysbrydion yn fawr yn yr oes hon. Gallwn ddod ag ychwaneg o brofion

etto, mai trwy arddodiad dwylaw y rhoddid yr Ysbryd Glan, ond dyna ddigon y tro hwn.

Sect. Nis gwn beth a all fod mewn dwylaw er rhoddi yr Ysbryd Glân i neb yn awr. Rhaid addef fod yr apostolion, a hwy yn unig, yn gwneyd hyny; ond nid oes eisieu hyny yn awr. Mae hyny yn debyg i Babyddiaeth, onid yw?

Sant. Nid yw o bwys mawr tebyg i beth yw, tra fyddo mor debyg i'r drefn apostolaidd. Os yw Babyddiaeth, yna Pabyddion oedd yr apostolion; ac os yw hyn yn fy ngwneyd yn Babydd, yr wyf mewn cwmni da, sef yr hen Baul, Pedr, a'r apostolion ereill. Ond gwadaf nad oedd neb ond yr apostol yn arddodi dwylaw er derbyn yr Ysbryd Glan; o achos paham, y mae genyf brawf cadarn y meddai henuriaid hawl i weinyddu yr ordinhad hon. Gwel Act. ix, 17, "Ac *Ananias* a aeth i mewn i'r ty; ac wedi dodi ei ddwylaw arno, efe a ddywedodd, Y brawd Saul, yr Arglwydd a'm hanfonodd, fel y gwelych drachefn, ac y'th lanwer â'r Ysbryd Glan." Drwy arddodiad ei ddwylaw ef y bu, er nad oedd efe yn apostol. Ond rhaid brysio yn mlaen, gan fod fy amser bron dyfod i ben. Gofynwch y cwestiynau sydd fwyaf eglurhaol, ac mor fyred ag y galloch; minnau a ymdrechaf i'w hateb cyn fyred ag y gallaf.

Sect. Os yw bedydd mor bwysig, paham y mae yr Ysgrythyr mor ddystaw am fedyddiad yr apostolion eu hunain?

Sant. Mae yr Ysgrythyr yn eglur ddangos fod yr apostolion wedi eu bedyddio. Dywed Crist yn Math. x, 38, "A'r hwn nad yw yn cymmeryd i fyny ei groes, ac yn canlyn ar fy ol i, nid yw deilwng o honof fi." Yr oedd yr apostolion yn deilwng o hono ef; yna yr oeddynt wedi cymmeryd fyny y groes hon. Yn cyfeirio at yr un peth, y dywed yn Math. xix, 28, "Yn wir, meddaf i chwi, y cewch chwi, y rhai a'm canlynasoch i yn yr adenedigaeth, pan eisteddo Mab y dyn ar orsedd ei ogoniant, eistedd chwithau ar ddeuddeg gorsedd, yn barnu deuddeg llwyth Israel." Nid yw yn cyfeirio at adenedigaeth yr Ysbryd, oherwydd nid oedd yr Ysbryd wedi ei roddi y pryd hyn. Yn mhen amser wedi hyn y rhoes efe yr addewid o'r Ysbryd Glan iddynt, i fod yn barhaus gyda hwynt (gwel Ioan xvi, 7); am hyny, ni allai fod yn meddwl dim llai wrth yr adenedigaeth hono, nâ bedydd dwfr er maddeuant. Mae hyn yn rhesymol hefyd, wrth ystyried mor afresymol fuasai iddynt beidio dilyn esiampl eu Hathraw yn y bedydd; na bedyddio ereill, tra yn esgeuluso bedydd eu hunain.

Sec. Dyna chwi wedi profi y pwnc yna yn eglur; ond yn awr am beth sydd yn fwy croes i'm teimladau nâ dim a enwais, paham y rhaid i'r bedyddiedigion dynu eu dillad oddiam danynt, a myned i'r dwfr yn noethion? Mae hyn yn wrthun.

Sant. Mae hyna yn gam-gyhuddiad, heb un gair o wirionedd ynddo. Un yw o'r mil celwyddau ag sydd yn cael eu llunio gan ein gelynion, a'u cyhoeddi ar adenydd y gwynt. Heriaf brawf o un enghraifft o hyny.

Sect. Yr wyf wedi fy synu yn fwy nag o'r blaen. Ai tybied, Syr, y buasai y peth yna yn cael ei ddweyd a'i gredu yn eich herbyn mor gyffredinol, oni bai fod rhyw achos o hono. Darllenais hyny hefyd mewn rhyw gyhoeddiad crefyddol o Gaerdyf, o'r enw *Gwir Fedyddiwr*, perthynol i'r Bedyddwyr. Yr oedd yno lawer o bethau ereill drwg iawn yn cael eu dweyd am danoch, y dymunwn wybod am danynt. Ni raid gofyn

ynghylch ystoriau y menywod claf hyny, canys gwel pawb nad yw yn bosibl i'r rh hyny fod fel y desgrifir. Mae yr awdwr o honynt, yn ei awyda i'ch duo ddigon, w dweyd cymmaint yn ormod, nes y mae yn croes-ddweyd ei hun.

SANT. Yr wyf finnau wedi darllen mewn amryw rifynau o'r misol hwnw yn olynol, am y bobl hyn. Mae genyf lygad-dystion geirwir profi y pethau yn gelwyddog a disail. Meddyliais eu cyhoeddi, o perswadiwyd fi gan lawer nad oedd eisieu—na choeliai dynion c byth y fath haeriadau croes i'w gilydd o un cyhoeddiad, llawer llai cyhoeddiad llygredig ac enllibus hwnw. Ond yr wyf wedi deall yc waneg oddeutu iddo, a'r gohebwyr hyny a anfonodd y celwyddau hy iddo; ac os sylwch, gwelwch mai T. ab Ieuan neu Tobit ger y Bo yw y ffugenwau sydd wrthynt oll o'r bron. Gellwch adnabod eu *sty* a'u hymadroddion, air yn ngair, am *sentences* cyfain, y naill wrth llall. Mae yn rhaid fod ganddynt ddylanwad mawr ar y cyhoeddw yr hwn nid yw ond ceisio lladd ei fisolyn a'i gymmeriad, drwy roi fath bethau ynddo; ac yr wyf wedi penderfynu cyhoeddi y profio sydd genyf er dangos i'r wlad y rhai hyn yn eu lliw eu hunain. D wedir mai yn D—l—s y mae T. ab Ieuan a Tobit yn byw; ac y oeddwn yn meddwl, wrth olrhain eu gwaith drwy rifynau y *Bedyddiw* mai yr unig un a'u boddient hwy oedd y Parch. W. R. Davies, rhyfedd fel y brolient hwy ef. Mae rhyw beth da am dano bron y mhob rhifyn—pe dim ond pregeth angladd, "dra rhagorol gan Parch. W. R. Davies;" a phob peth nodedig a gymmer le yn Dowla yn enwedig yn nghapel Caersalem, sydd yn "rhyfedd," medd T. a Ieuan. "Mor enwog y bu!" fel pe byddai efe eu hysgrifenydd pena yn defnyddio ei holl ddychymmyg i frolio y Davies, Dowlais, hwnw Beth yw y gyfrinach sydd rhyngddynt? ai tybied y bydd y ddau y nghwmpeini eu gilydd yn gyffredin? Efallai fod y ddau hyn ynghy yn y pwlpud hefyd.

SECT. Dylech chwi gyhoeddi y gwrthbrofion i'r celwyddau hyny; canys y mae, ni yn unig eich cymmeriad fel plaid, ynghyd â'ch crefydd, ond y cyhoedd hefyd, yn ca cam mawr drwy y celwyddau hyny. O'r braidd fod neb a feddwl, os gwir y cyhudd iadau hyny, eich bod yn werth eich gwrandaw; ac ni feddyliais fod un cyhoeddiad y Nghymru, yn enwedig un a broffesa fod yn gyhoeddiad crefyddol, yn cyhoeddi y fat enllib am bobl ereill. Yn wir, rhaid i mi gredu mai celwyddau yw yr hyn oll a glywai ac a ddarllenais yn eich cylch chwi a'ch crefydd, yn ol yr hyn a glywaf o'ch egwyddor ion genych chwi; a dylech eu hamddiffyn yn gyhoeddus, ar a welaf fi. Maent yn fw ysgrythyrol nag un drefn arall; ond paham y bedyddiwch bobl yn y nos?

SANT. Dywedais yr *achos* fod rhai wedi cael eu bedyddio yn y nos sef o herwydd fod rhai wedi codi y fath erlidigaeth arnom, fel na ad ewid i ni, yn eu hardaloedd hwy, fedyddio yn y dydd, os gwyddent a y peth. A phwy ond hwy sydd yn ein condemnio yn gyhoeddus, a wneyd hyny, wedi iddynt ein gorfodi, drwy eu celwyddau, i fedyddi felly y rhai sydd yn gofyn hyny genym bron yn feunyddiol; er na oes amser nodedig genym i fedyddio, ond fel y byddo cyfleustra, boe nos neu ddydd, Sul, gwyl, a gwaith. Ychydig sydd yn cael eu bed yddio yn y nos.

SECT. A ydych chwi yn credu, fel y dywedir, "fod y dwfr yn golchi ymaith eich ho bechodau!"

SANT. Ystori y *Bedyddiwr* yw hon hefyd, ac yn gelwydd i gyd. Ni chredwn fod digon o rinwedd yn holl ddyfroedd y Môr Werydd i olchi ymaith un pechod, nac mewn dwylaw neb ddim er cyflwyno yr Ysbryd Glan, mwy nag oedd yn y cyrn hyrddod gynt i gwympo caerau Jericho; ond mae'r fendith yn deilliaw o râs i gyd, ac ar ffyddlondeb yr Hwn a addawodd, a hyny drwy ufydd-dod i'r iawn weinyddiad o'r moddion, neu yr ordinhadau gosodedig i'r cyfryw ddybenion *Drwy* ufydd-dod; ond nid *am*, nac *heb* y moddion—drwy ffydd a bywyd santaidd yn Nghrist Iesu, ar lwybr y ddyledswydd, fel Naaman y Syriad, drwy ymolchi seithwaith yn yr Iorddonen.

SECT. Trueni mawr eich bod wedi cael y fath gam. Pe gwyddai y wlad y gwir am danoch, diau y byddai yn dda ganddynt eich clywed. Un peth arall a ddarllenais yn y Cyhoeddiadau, eich bod wedi pregethu fod diwedd y byd i ddyfod yn y flwyddyn ddiweddaf, a'ch bod wedi achosi i lawer roddi i fyny eu masgnach, a rhoddi eu harian i chwi, a bod rhai wedi gwallgofi. Beth oedd yr achlysur o'r 'stori hon?

SANT. Dyma ydyw. Ychydig flynyddau yn ol, dechreuodd dyn o'r enw William Miller, pregethwr y Bedyddwyr, yn Long Island, America, godi plaid, drwy ddweyd fod Crist i ddyfod i losgi y byd ar y 23ain o Ebrill, 1843; a mawr y cynhwrf a'r swn a barodd. Bum yn eu cyrddau yno, a manau ereill; a bu y Miller hwn ei hun yn Nauvoo pan oeddwn yno, ond gwrthwynebwyd ei athrawiaeth, a phrofwyd hi yn gyfeiliornus. Nid oedd a fynai y Saint erioed â'r athrawiaeth hòno, canys y mae yn groes i'w pynciau sylfaenol.—Yn awr, Syr, dymunaf arnoch, er eich lles eich hun, i fyfyrio ar y pethau hyn, "gan chwilio beunydd yr Ysgrythyrau, a ydyw y pethau hyn felly." Yr wyf wedi ateb eich holl wrthwynebiadau i'r Efengyl dragywyddol, fel ei phregethir gan y Saint; ac wedi dangos i chwi rai o'r celwyddau a daenir gan Satan a'i weision am ein cymmeriadau, er mwyn eich rhwystro chwi ac ereill i'n gwrandaw, a hwy yn gwybod, gan mwyaf, y cred dynion gonest ein crefydd, pe clywent ni. Gobeithiaf y byddwch yn fwy boneddigaidd, wedi ymadael, nâ gwneyd fel y gwna llawer â mi, sef cam-ddarlunio yr hyn a ddywedais yn fy absennoldeb; a gwn fod y *recording angel* yn clywed yr hyn a ddywedwyd genyf, ac y bydd rhaid rhoddi cyfrif manwl hefyd. Os gwir a ddywedais, yna gwelwch eich perygl o oedi ac esgeuluso gorchymynion ein Harglwydd a'n Barnwr, a thrwy hyny wrthod iachawdwriaeth, a gogoniant, sef teyrnasu gyda ein Harglwydd Iesu Grist *ar y blaned hon a roes i chwi fywyd*, pan fydd wedi ei pherffeithio; canys trwy yr Efengyl y dwg efe fywyd ac anllygredigaeth i oleuni; a bod i chwi, a miloedd lawer o'm cydgenedl, gael mwynhau Efengyl y tangnefedd, yw'm taer weddi er mwyn Crist.—Ond, un peth etto cyn ymadael, a hyny efallai am y tro diweddaf yn y bywyd hwn, a dywedaf yr un peth pan gwrddwn o flaen y frawdle. Mae yn debyg, os soniwch wrth ryw un, yn enwedig wrth rai o Phariseaid yr oes hon, ynghylch crefydd y Saint, mai y cyntaf peth a glywch ganddynt fydd cruglwyth o'r ystoriau sydd yn gorlifo y byd drwy y newyddiaduron, yn erbyn cymmeriad y dynion hyny a gawsant y fraint o fod yn offerynau, yn llaw Duw, er sefydlu ei deyrnas ar y ddaear yn y dyddiau diweddaf: ond cofiwch mai felly y gwneid â phobl Dduw yn mhob oes, a pheidiwch a'u coelio. Cel-

wyddau ydynt, yn wir; gwn hyn drosof fy hun. Bum yn gydnabyddus bersonol â Joseph Smith, yn y dirgel a'r cyhoedd, am flynyddau; sylwais yn fanwl a diduedd ar ei fuchedd a'i ddysgeidiaeth; a dywedaf yn eofn mai dyn gonest, dyn geirwir, dyn diwair, bucheddol a moesol, ïe, dyn yn meddu rhinweddau a duwioldeb tu hwnt i neb dyn a welais, oedd. Canlynais ef hyd y nod i'r carchar, pan fwriwyd ef yno ar gyhuddiad o fradwriaeth yn erbyn y llywodraeth. Clywais y tyst a *achosodd* hyny yn tyngu o flaen y llŷs, iddo glywed Joseph Smith yn pregethu oddiar Dan. ii, 44. Darllenwch, a chewch weled "fod Duw y nefoedd yn addaw gosod i fyny freniniaeth." Tyngodd y tyst uchod ddarfod i Joseph Smith ddweyd fod hyny wedi ei gyflawni y pryd hyny, ac mai efe (J. S.) oedd y Brenin. Dyna paham y rhoddwyd y *warrant*, ac y bwriwyd ef i'r carchar, lle y daeth ei elynion annuwiol a meddw, wedi duo a melynu eu gwynebau, gan ruthro arno, a'i ladd ef a'i frawd yn y modd mwyaf gwaedlyd. Clywais eu tystiolaeth yn y carchar. Pregethent yr Efengyl, drwy y ffenestri, i'r rhai hyny ag oedd yn ceisio eu lladd; a gweddiasent drostynt pan yno. Bum gyda hwynt hyd eu hawr olaf; a sicr ydwyf fod Joseph Smith a'i frawd wedi selio, yn angeu, eu tystiolaeth flaenorol â'u gwaed, ïe, a marw yn lân oddiwrth bob un o'r ystoriau sydd yn ehedeg drwy Gymru am danynt. Diammheu iddynt fyned at eu Duw. Yr oeddynt yn wyr doeth, a'r mwyaf gyda eu Duw, yn eu hoes; a bydded fy niwedd i fel eu diwedd hwythau. Maddeued Duw i awdwyr y celwyddau a'r creulonderau ar ei Saint; a bod iddynt edifarhau a galw y rhai hyny yn ol, cael eu bedyddio gan y rhai a erlidiant er maddeuant pechodau, fel y caffont ddawn yr Ysbryd Glan a bywyd tragywyddol, yw'm taer weddi, drwy Iesu Grist. Amen.

---

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

Ganwyd .

Joseph Giles . Mawrth . 7 . 5

am unawr wedi 5 yn y bore

yn y flwyddyn . 1845 .

ar ben y garn fach . yn Nant

y Glo . yn Swydd Mynwy .

---

